The Right Honourable
W. E. Gladstone M.P.

With the Author's
compliments

in remembrance of
the Mold Eisteddvod.

Plaistow, E.
Nov. 1875.

Y

# GYFRES SAFONOL

O

**Wersi ar Ymarferiadau yn Nhrefn y Tonic Sol-fa o addysgu Canu,**

*(Seiliedig ar lyfr Miss Glover, sef "Cynllun i wneyd Canu yn beth Cynulleidfäol," A.D.,* 1833.*)*

GYDAG

## YMARFERIADAU YCHWANEGOL.

GAN


JOHN CURWEN.

*(Pencerdd Dyrwent)*

CYFIEITHIEDIG I'R GYMRAEG GAN ELEAZAR ROBERTS, LIVERPOOL.


---

**ARGRAFFIAD NEWYDD, WEDI EI AIL-YSGRIFENU, A.D. 1872.**

---


**London:**

TONIC SOL-FA AGENCY, 8, WARWICK LANE, PATERNOSTER ROW, E.C.

1875.

# MYNEGAI O'R TESTYNAU.

## SEINIADAETH.



## AMSER.



## MYNEGIANT.



## CYNANIAD.



## LLAIS-AMAETHIAD.



## CYNGHANEDD.



## FFURF GERDDOROL.



## NODIANT.

## EFFEITHIAU MEDDYLIOL A LLAW-ARWYDDION SEINIAU MEWN CYWEIRNOD.

**Nodiad.**—*Mae'r lluniau yn dangos y llaw fel y gwelid hi ar du chwith yr athraw.*

### Y GRIS CYNTAF.



**SOH.**

Y sain Fawreddog neu *ddisglaer*,—y Llywydd mwyaf, yn gwneyd gyda *Te* a *Ray* gord y Llywydd,—y cord S, a chyda *Fah* hefyd y cord ⁷S.



**ME.**

Y sain Sefydlog neu *dawel*,—y Canolydd mwyaf, yn gwneud gyda *Soh* a *Te* y cord anfynych M.



**DOH.**

Y sain Gref neu *gadarn*,—y Tonydd mwyaf, yn gwneyd gyda *Me* a *Soh* gord y Tonydd,—y cord D.

### YR AIL RIS.



**TE.**

Y sain Dreiddiadol neu *deimladol*,—y Sain Arweiniol fwyaf, yn gwneyd gyda *Ray* a *Fah* y cord gwan T.



**RAY.**

Y sain Gyffrous neu *obeithiol*,—yr Ardonydd mwyaf, yn gwneyd gyda *Fah* a *Lah* y cord R,—ac yn yr amgylchiad hwnw y mae yn cael ei chanu yn naturiol un comma yn is, a gellir ei gwahaniaethu wrth yr enw *Rah*.

### Y TRYDYDD GRIS.



**LAH.**

Y sain Drist neu *wylofus*,—yr Is-Ganolydd, yn gwneyd gyda *Doh* a *Me* y cord L.



**FAH.**

Y sain Frawychus neu *ofn-gynyrchiol*,—yr Is-lywydd mwyaf, yn gwneyd gyda *Lah* a *Doh* y cord Islywyddol,—y cord F.

**Nodiad.**—*Nid yw y desgrifiadau geiriol hyn o effaith feddyliol yn gywir ond am seiniau y raddfa pan y maent yn cael eu canu yn araf,—pan y mae y glust wedi ei llenwi â'r cyweirnod, a phan nad yw yr effaith wedi ei chyfnewid i fesur gan gynghanedd.*

## BYS-ARWYDDION I DDANGOS AMSER.

**Fel y'u gwelir o safle yr athraw, cefn y llaw yn cael ei ddangos i'r dysgyblion.**



**TÂ.**



**TÂTÊ.**



**taffa teffe.**



**TÂteffe.**



**TÂ-effe.**



**taffaTÊ.**



**-Â**



**-ÂTÊ.**



***SHÂ.***



**TÂ*SÊ*.**



***S*ÂTÊ.**

***Cyf. Saf.***

## TAFLEN AMSER Y TONIC SOL-FFA.

Gan John Curwen.

| Cyfain. Haneran. | Chwarterau. | Trydeddau. |
|---|---|---|
| :1<br>TA-E<br>neu TA | :1,1.1,1<br>taffateffe | :1 ,1 ,1<br>tateti |
| :—<br>-A-E<br>neu -A | :1 .1,1<br>TAteffe | :1 ,– ,1<br>ta-eti |
| :<br>*SHA-E*<br>neu *SHA* | :1 .,1<br>TA-effe | :1 ,1 ,–<br>tate-i |
| :1 .1<br>TATE | :1,1.1<br>taffaTE | : ,1 ,1<br>*sa*teti |
| :– .1<br>-ATE | : ,1.1,1<br>*sa*ffateffe | :1 ,– ,<br>ta-e*si* |
| : .1<br>*SA*TE | :1,1.1,<br>taffate*se* | :1 , ,<br>ta*se-i* |
| :1 .<br>TA*SE* | :1 . ,1<br>TA*se*fe | :1 , ,1<br>ta*se*ti |

| Wythfedau. | Chwechfedau. 3 acen. |
|---|---|
| :11,11.11,11<br>tanaffanateneffene | :11,11,11<br>taffateffetiffi |
| **Nawfedau.** | **Chwechfedau. 2 acen.** |
| :111,111,111 (3 3 3)<br>taralatereletirili | :111.111 (3 3)<br>taralaterele |

Nodiad.—Pan ddymunir dangos yr aceniad cryf, rhoir y lythyren "r" i mewn fel hyn, "tra-e," "trate," &c. Pan y bydd angen dangos yr acen gymhedrol, dodir y lythyren "l" i mewn yn yr un modd. Mae yr amser-enwau hyn wedi eu copio o "Langue des durées" M. Paris. Anaml y defnyddir y man raniadau, oddigerth mewn cerddoriaeth offerynol. Yn nodiant y Tonic Sol-ffa yr ydym yn fynych yn ysgrifenu *dau* fesur yn lle *un* yn y nodiant cyffredin, ac felly yn dangos yr aceniad yn fwy cywir. J. C.

Y MODULATOR.



# Rhagymadrodd i'r Cyfieithiad Cymraeg.

Anfynych y mae proffwydoliaeth wedi cyfarfod a chyflawniad mor fuan a chyflawn a'r un yr anturiais i ei wneyd yn y "Tonic Sol-fa Reporter," yn y rhifyn am Awst, 1861. Wrth adolygu y rhifyn cyntaf o "Hymnau a Thonau" i blant gan Mr. E. Roberts dywedais :—"Y mae y Cymry yn bobl dra cherddorol, y maent hefyd yn bobl gwir grefyddol. Os syrth y Tonic Sol-fa i ddwylaw da a gweithgar yn eu mysg, nid ydym yn ameu na chymer y Dywysogaeth afael ar ein cyfundrefn yr un mor egniol a llawen ag y mae Scotland wedi gwneyd. *Hurrah am y Llyfr Cyntaf yn y Tonic Sol-fa yn yr iaith Gymraeg!*" Ond yr oedd y broffwydoliaeth ar sail gadarn, ac y mae trefn y Tonic Sol-fa yn Nghymru *wedi* syrthio i ddwylaw da. Cyhoeddwyd rhifynau ereill o Hymnau a Thonau i blant yn bur fuan gan yr un awdwr, ac yn niwedd 1862 cyhoeddodd Mr. Roberts hefyd ei "Lawlyfr Caniadaeth," wedi ei gymeryd yn benaf o'r hen "Gyfres Safonol" a fy llyfrau ereill. Yn fuan ar ol hyny cymerwyd cam pwysig trwy gyhoeddiad yn ein nodiant ni y casgliad mwyaf adnabyddus o Donau Cynulleidfaol, sef Llyfr Tonau y Parch. John Roberts, y pryd hwnw o Ferthyr ond yn awr o'r Fron. Darfu i gysylltiad crefyddol eang y bonoddwr hwn, a'i lafur maith, calonog a ffyddlon mewn arholi dysgyblion am y tystysgrifau yn mhob parth o'r wlad osod sylfeini dwfn a bywiol i'n symudiad. Ac yn awr y mae casgliad mawr o lyfrau tonau, o lyfrau cerddorol i blant, ac o gerddoriaeth i ddosbarthiadau y bobl ieuaingc yn cael eu danfon allan o'r wasg mewn gwahanol fanu yn Nghymru. Ac felly fe ellir dyweyd ymron mai trefn a nodiant y Tonic Sol-fa ydyw *y* drefn, ydyw *y* nodiant i'r Ysgolion Sabbothol, yr Eglwysi, ac ymgynulliadau corawl y Cymry.

Y wyf ers talm wedi bod yn awyddus ar i Donic Sol-ffäwyr Cymru fod yn alluog i ymuno â'u brodyr ereill mewn efrydu am y Tystysgrifau uchaf yn y Tonic Sol-fa ; oblegid yr wyf yn argyhoeddedig fod mwnglawdd gyfoethog o *efrydyddiaeth* i gael ei gweithio yn Nghymru. Mae ein cyfundrefn ni wedi tyfu nid yn unig am ei bod yn hawdd a rhad, ond am ein bod, po fwyaf yr ydym wedi ei defnyddio i archwilio y wyddor a'r gelfyddyd o gerddoriaeth wedi ei chael yn un "wir." Gall y cyffro mewn unrhyw dref neu bentref ar ol canfod fod ffordd at gerddoriaeth sydd yn "hawdd" a "rhad," i ryw fesur ddarfod. Rhaid cael yr efrydydd — efrydydd llais-amaethiad — efrydydd mynegiant—efrydydd Ffurf Cerddorol—efrydydd Cynghanedd—efrydydd Cyfansoddiant Cerddorol —i werthfawrogi yn briodol "wirionedd" y drefn. Ond paham y mae arnom eisiau yr efrydwyr? Ai yn unig i roddi i ychydig ychwaneg o bobl bleser gwybodaeth, ac hyfrydwch cyrhaeddiad? Na. Ond er mwyn gwneyd ychwaneg o athrawon, a gwneyd gwell athrawon. Cri parhaus ac iachus dosbarthiadau elfenol yw, "Onid oes genych chwi rywbeth mwy i'n dysgu? Os nad oes, yr ydym yn gadael eich symudiad ac yn myned i le arall." Yr wyf wedi sylwi, yn mhob parth o'r wlad, fel yr wyf, o flwyddyn i flwyddyn wedi bod yn foddion i osod allan y pyngciau uwch hyn, yn eu dadblygiadau syml yn nodiant y Tonic Sol-fa, ein bod wedi bod yn alluog i gadw yn ein rhengau gweithiol nifer cynyddol o ddynion deallus a galluog. Ac y mae hyn drachefn wedi adweithio yn ol o flwyddyn i flwyddyn fel ag i ychwanegu cymhwysder ein Hathrawon. Oherwydd y rheswm hwn, yr wyf yn awr, gyda'r "Gyfres Safonol," a chyda'r "Pa fodd i sylwi a'r Gynghanedd" diwygiedig, yn apelio trwy gyfrwng eu hiaith eu hunain at feddylwyr, at weithwyr, ac at efrydwyr Cymru.

Am y modd y mae ysgrifell hir-arferedig Mr. E. Roberts wedi gweithredu yn y cyfieithiad hwn nid rhaid i mi siarad. Mae gwerthiad helaeth ei lyfrau ereill yn y Tonic Sol-fa yn ddigon o brawf o'i fedrusrwydd a'i allu i gyfaddasu. Yr wyf yn gwybod fod ei galon wedi bod yn y gwaith. Mewn llythyr a ysgrifenodd ataf y dydd o'r blaen dywed "Yr wyf yn meddwl fod y 'Gyfres Safonol' newydd y peth yn union ag sydd eisiau y dyddiau hyn, ac yr wyf yn hyderu y bydd iddo greu cyfnod newydd yn hanes y Tonic Sol-fa yn Nghymru."

JOHN CURWEN.

*Plaistow, Ebrill,* 1875.

# RHAGYMADRODD Y CYFIEITHYDD.

Yn y rhifyn o'r *Cerddor Cymreig* am Awst, 1861, ymddangosodd y llythyr cyntaf o'm heiddo, yn egluro trefn y Tonic Sol-fa o ddysgu canu. Parhëais i ysgrifenu o fis i fis am dros flwyddyn. Yr oeddwn *cyn hyny* wedi cyhoeddi "Hymnau a Thonau" i blant yn y nodiant hwnw. Yn Rhagfyr 1862 ymddangosodd Rhan 1 o'r "Llawlyfr," sef cymhwysiad o wahanol lyfrau Mr. Curwen at amgylchiadau y Cymry. Rhedodd y naill a'r llall trwy wahanol argraffiadau mewn ychydig o amser—ac ymddangosodd rhifynau ychwanegol o'r "Hymnau a Thonau." Yn gynar iawn yn nechreu y symudiad, sef yn Mehefin, 1863, ymddangosodd y Llyfr Tonau Cynulleidfäol gan fy nghyfaill Ieuan Gwyllt yn y Nodiant newydd. Yn fuan iawn ar ol cyhoeddi y llythyrau yn y Cerddor Cymreig, ffurfiwyd dosbarthiadau drwy y wlad i ddysgu y gyfundrefn, traddodwyd darlithau i'w hegluro, cyhoeddwyd darnau yn y nodiant newydd yn y *Cerddor Cymreig*—yr hwn o'r dechreu a roes ei anadl yn gryf o blaid y symudiad—fel rhwng y naill foddion â'r llall yr ymledodd trefn y Tonic Sol-fa trwy brif drefydd ac ardaloedd y Dywysogaeth yn bur fuan. Mae'n wir mai nid heb ryw gymaint o wrthwynebiad y mae y drefn wedi cyrhaedd ei safle presenol, ond gan ei bod yn drefn "hawdd," a "rhad," ac yn neillduol yn un seiliedig ar "wir" egwyddorion cerddoriaeth, gorchfygodd bob gwrthwynebiad, ac y mae ganddi yn awr ei *Cherddor* arbenig at ei gwasanaeth, y mae pob llyfr Tonau a phob darn cerddorol yn cael eu cyhoeddi yn y nodiant newydd, hi mewn gwirionedd yw cyfrwng cyflead pob addysg gerddorol o ddim pwys, ac mewn gair, a defnyddio geiriau awdwr talentog y papurau yn yr argraffiad newydd o Addysg Chambers i'r Bobl, cyfundrefn y Tonic Sol-fa ydyw y gyfundrefn a fabwsiedir yn gyffredinol yn Nghymru yn y dyddiau hyn. Nid yn unig y mae yn cael ei dysgu i blant yr Ysgol Sul, ond y mae athrawon a ddanfonir allan o'r Coleg yn Mangor yn ei dysgu yn yr Ysgolion dyddiol fel y mae pob lle i hyderu y bydd y dyddiau hyny y proffwydwyd am danynt yn nghychwyniad y symudiad yn Nghymru yn fuan yn gwawrio, sef y dyddiau pan y bydd y bobl yn gallu defnyddio eu Llyfr Tonau mor rwydd a'u Llyfr Hymnau.

Ond y mae y gyfundrefn yn cynyddu nid yn unig mewn *lled* ond mewn *dyfnder* hefyd. Mae Mr. Curwen wedi efrydu ac wedi symleiddio pethau dyfnaf cerddoriaeth yn ystod y blynyddau diweddaf, ac wedi eu hegluro yn ei ddull hapus ei hun trwy gyfrwng y nodiant newydd, ac fel y mae efe ei hun yn dyweyd yn y Rhagymadrodd i'r Llyfr hwn, y mae yn awyddus i osod y Cymry uniaith ar yr un tir manteisol i elwa ar yr efrydiaethau hyn ag y mae'r Saeson, ac oherwydd hyny y mae Ieuan Gwyllt wedi cyfieithu *How to Observe Harmony*, a'r *Construction Exercises*, ac i'r un amcan hefyd y mae yr awdur wedi ail ysgrifenu y *Standard Course* ac wedi dymuno arnaf ei gyfieithu i'r Gymraeg.

Am deilyngdod y cyfansoddiad newydd hwn o'r "Gyfres Safonol" nid cymhwys i mi draethu. Fel y bu y Llawlyfr a llyfrau ereill yn foddion i *ledaenu* y gyfundrefn yn Nghymru, yr wyf yn hyderu y bydd y cyfieithiad hwn o'r *New Standard Course*, yn foddion nid yn unig i ledaenu yn ychwanegol y gyfundrefn fanteisiol hon, ond i *ddwfnhau* gwybodaeth gerddorol fy nghydgenedl a gwneyd gwir *efrydwyr* cerddorol yn lluosocach.

Goddefer i mi hefyd ddatgan fy nghymeradwyaeth galonog o'r hyn a ddywed Mr. Curwen am amcan yr ymdrech ychwanegol hwn. Gobeithio mai amcan pob efrydydd o'r drefn hon fydd, nid i gael tegan chwareu newydd, nid i'w alluogi i ychwanegu at ei ddifyrwch yn unig, nid i greu chwerthiniad mewn cyfarfodydd a chyngerddau ysgeifn, ond i wneyd athrawon cerddorol gwell, athrawon a fyddant yn awyddus i gerddoriaeth gyrhaedd ei gwir amcan, sef *dyrchafiad y ddynoliaeth* ac yn neillduol i fod yn gyfrwng Moliant i Dduw.

Am y cyfieithiad nid oes genyf ond dyweyd mai fy amcan mawr fu nid dangos cywreinrwydd ieithyddol ond gwneyd gwir feddwl yr awdwr yn ddealladwy i'r Cymro uniaith, — Yr wyf yn awyddus i'r argraffiad Cymreig hwn gael ei *ddeall a'i ddefnyddio*. I'r perwyl hwn yr wyf wedi rhoddi eglurhad yn niwedd y Llyfr ar y geiriau mwyaf ansathredig y bum dan orfod i'w defnyddio, a hefyd y geiriau ereill cyfystyr sydd wedi cael eu defnyddio mewn cyfieithiadau ereill o lyfrau Mr. Curwen.

Ailddywedaf yma fy mod yn hyderu y bydd ymddangosiad y "Gyfres Safonol" yn yr iaith Gymraeg yn "gyfnod" yn hanes Tonic Sol-fa yn Nghymru. Credwyf nad oes gwell help i gyrhaedd gwir fedrusrwydd a gwybodaeth gerddorol i'w gael yn un man nag a geir yn y llyfr hwn.

*Liverpool, Ebrill*, 1875. E. ROBERTS.

# NODIAD.

Y mae lluaws o gyfeillion wedi gofyn i mi "Pam na wnewch chwi drefnu eich llyfr yn wersi? Byddai yn gyfleus iawn i ni, bob tro yr elem at ein dosbarth, i wybod, pa faint a pha mor lleied yr ydym i ddysgu." Buasai yn dda genyf wneyd hyn, ond y mae galluoedd, chwaeth, ac amgylchiadau ein dysgyblion yn gwneyd hyny yn anmhosibl. Y mae gwers i'r Ysgol a gwers i'r dosbarth hwyrol, gwers i'r Ysgol Ddiwygiadol, a gwers i'r Coleg, yn gwahaniaethu yn fawr yn y dull o addysgu, ac yn nifer y pethau y gellir eu dysgu. Nis gallaf ond darparu trefn gyffredinol; yn yr hon y mae rhai pethau yn hanfodol a rhai heb fod felly, gan adael yr athraw i gymhwyso y drefn hono at y dosbarth neillduol y mae a wnelo efe âg ef. Rhaid edrych ar y fath byngciau a Chynghanedd, Cynghaniad, Ffurf Cerddorol, Llais-amaethiad, a rhanau amhawdd Amser, Seiniadeth, a Mynegiant, er mor bwysig, yn bethau heb fod yn hanfodol, a bydd yn rhaid eu gadael allan mewn lawer o ddosbarthiadau.

Er nad allaswn benu swm penodol yr addysg a'r ymarferiad y gall pob dosbarth ei dderbyn, o wers i wers, yr wyf wedi rhanu y drefn i Risiau. Wrth ris yr wyf yn golygu man neillduol ar daith y dysgybl, lle y disgwylir iddo aros a holi ei hunan, a dwyn gwahanol ranau ei lafur (mewn seiniadaeth, amser a mynegiant) yn gyfochrog a'u gilydd. Dyma'r hyn a elwir yn y swyddfa fasnachol yn "gymeryd cyfrif o'r 'stoc," ac yn Nhy y Cyffredin, yn "Adrodd y Cynydd." Fe geir fod efrydwyr cyffredin yn dysgu cyfran benodol o bob cangen o'r pwngc gyda'u gilydd, ac y mae y gyfran hon wedi ei rhoi, mor agos ag y gellir, yn mhob gris. Y mae efrydiaeth unochrog yn beryglus a thruenus i'r efrydydd. Y mae darllenydd medrus mewn *seiniau*, ond un nas gall gadw *amser*, yn cael ei hun yn methu yn barhaus, ac yn blino ei gymydogion, ac y mae *amserydd* da, ond sydd yn barhaus yn *camseinio*, yn cael ei hun yn anfoddäol, ac yn fynych yn atal y dosbarth, er cywiro ei gamgymeriadau ef. Mae y grisiau, gyda'r cwestiynau helaeth yn eu diwedd, yn galluogi aelodau y dosbarth i deithio gyda'u gilydd,—i gadw droed yn nhroed, ar yr un grisiau.

Ond y mae'r Wers yn beth gwahanol i'r Gris. Gall dosbarth pur ddwl gymeryd tair neu bedair o wersi cyn y gorphenont y rhan gyntaf o'r daith, a dwyn eu hunain at y marc a dynir yn glir gan yr arholiad yn niwedd y gris cyntaf. Anaml y gwelsom ddosbarthiadau mor gyflym a pharod fel ag i allu cyflawni y gris cyntaf mewn un wers. Mae yr athraw yn astudio natur y dosbarth sydd ganddo i'w ddysgu, ac yn tynu allan gynllun ei wersi yn ol hyny. Hyd nes y byddo wedi adnabod ei ddosbarth yn fwy perffaith, anaml y bydd yn alluog i wneyd mewn un wers yr hyn yr oedd wedi ei gynllunio, ond y mae bob amser yn myned at ddosbarth gyda chynllun,—mae wedi dewis yr ymarferiadau i fyned trwyddynt, ac wedi rhagweled yn ei feddwl, a phortreadu yn ei ddychymyg, y camgymeriadau y gofynir iddo eu cywiro, a'r egluriadau geiriol byrion y disgwylir iddo eu gwneyd.

Pan y mae pwngc *newydd* i gael ei ddwyn i mewn, y mae yn cymeryd mwy o amser na'r pyngciau ereill, a gall yn y dechreu wneyd hyny fel ag i gau allan ereill. Ond mor fuan ag y mae pwngc wedi cyrhaedd "pwynt y blino" mewn dosbarth, rhaid ei adael, er nad ydyw wedi cymeryd ond amser byr. Y gofal penaf yn y dechreu fydd *seiniadaeth*, ac ni wna'r athraw ddwyn i mewn elfenau cyntaf amser, hyd nes y byddo'r dosbarth wedi dyfod *yn agos* at bwynt y blino, a hyny fel amrywiaeth. Wedi i gymdeithasiad sill a chyfrwng yn y **d m s** gael ei lawn sefydlu ac nid cynt, y telir *llawer* o amser i'r enwau ar amser. Nid doeth ydyw dwyn i mewn lawer o byngciau *newydd* mewn un wers. Dylai y Llais-ymarferiadau gymeryd ychydig o amser pob gwers ar ei hagoriad. Yr wyf yn gofyn sylw pob athraw sydd yn cymeryd ein Trefn ni i fynu at dri pheth o'r dechreu,—Patrwm neu Gynllum, Effaith Feddyliol, a pharatöad ar gyfer y Tyst-ysgrifau. Fe wyr yr athraw profiadol sut i drefnu materion ei ddosbarth, pa fodd i basio yn ddiymdroi o'r naill at y llall, pa fodd i ddal i fynu y dyddordeb, a pha fodd i sichrau cynydd gwastad yn holl ganghenau yr efrydiaeth. Ar gyfer yr athraw dibrofiad yr wyf wedi casglu yn nghyd gynifer o gynorthwyon y gallaswn feddwl am danynt yn "Llawlyfr yr Athraw i'r Tonic Sol-fa."*

JOHN CURWEN.

*Plaistow, Mehefin* 2, 1872.

* Heb ei gyfieithu.

# CYFRES SAFONOL

## TREFN Y TONIC SOL-FA O ADDYSGU CANU.

### Y GRIS CYNTAF.

*I gynyrchu sain dda. I amaethu y cyhyrau, y rhai sydd yn rheoli yr ysgyfaint. Ar ol cael cyweirnod, i adnabod a chynyrchu ei bumed a'i drydydd. I adnabod a chynyrchu ei wythawd uchaf, ac wythawd isaf ei bumed. I adnabod a chynyrchu y rhaniadau symlaf ar amser.*

#### Meithriniad y Llais.

Y mae gwers mewn canu yn ymarferiad sydd yn cryfhau ac yn prydferthu y corff; ac, os bydd yn bosibl, dylid, cyn dechreu arni, fyned trwy y cyfryw gwrs o ysgogiadau ar y breichiau a'r ysgwyddau ag a rydd ymarferiad a chryfder i gyhyrau yr ysgyfaint.

**Sain Dda.**—Dylai y dysgybl, o'r ymarferiad cyntaf, geisio cynyrchu *sain dda*, hyny yw, sain glir a phur (heb ddim cymysgedd o anadledd), ac o natur hyfryd. I'r dyben hwn rhaid talu sylw parhaus a *dyddiol*, os bydd modd, i dri pheth: 1af, "ysgytiad y *glottis* (beudag); 2il, tafliad y llais *yn mlaen*; ac yn 3ydd, *rheoleiddiad* yr anadl. Y mae *purdeb* sain yn dibynu ar y cyntaf a'r trydydd o'r pethau hyn, a *natur* neu ansawdd y sain ar yr ail a'r trydydd. Offeryn y llais ydyw y talp yn y gwddf a elwir y *larynx*, neu "afal Adda." Y *glottis* ydyw yr hollt hwnw rhwng y gwefusau hyny o'r *larynx* (neu'r llinynau lleisiol) sydd yn ffurfio'r agoriad isaf. Pan y mae Garcia a llaisfeithrinwyr ereill yn siarad am "ysgytiad y *glottis*," a phan y mae Dr. Rush, Mr. Melville Bell, ac areithyddwyr ereill, yn siarad am "ergydiad" (*explosion*) seiniau y llafariad, y maent yn cyfeirio at y gwaith o *gau* gwefusau y larynx *yn dýn* yn cael ei ddilyn gan eu *hagoriad eglur*. Fe wna gweithrediad gwefusau y genau wrth seinio yn gryf y lythyren *p* yn y gair *papa* egluro hyn; a gellir *teimlo* ysgytiad y *glottis* wrth besychu yn ysgafn, neu wrth seinio yn glir y lythyren *g* yn y gair *gên*, neu *c* yn y gair *cipio*. Nid nerth y mae yr "ysgytiad" hwn yn ei ofyn, ond gweithrediad *penodol a chlir*. Rhaid hefyd ei roddi allan gyda chan *lleied o anadl* ag y mae yn bosibl. Mae y gair *scâlâ*, yr hwn y mae llawer o lais-feithrinwyr yn ei ddefnyddio yn eu hymarferiadau, yn meddu ar y fantais yma, fod y sill gyntaf ynddo yn *gorfodi* yr "ergydiad" clir hwnw ar y llafariad ag yr ydym yn son am dano; ond wrth ei ddefnyddio, rhaid taro yr *s* yn ysgafn, a rhaid rhoddi yr *c* allan yn gyflym.

Y mae **Natur y Llais**, neu ei ansawdd (*timbre*, y peth hwnw ag sydd yn gwneud y gwahaniaeth rhwng llais caled cras, llais ystwyth clir, llais llawn cyfoethog, &c.,) yn dybynu yn benaf ar yr *arferiad* o daflu y ffrwd o awyr *yn mlaen* yn y genau. Y mae prawfiadau y Prifathraw Helmholtz, yn nghyd ag arferiadau Garcia ac ereill, yn cadarnhau y golygiad hwn. Dylai y ffrwd o awyr lleisiol daro yn erbyn taflod y genau, mor agos ag y gellir at wraidd y danedd uchaf. Y mae rhai llafariaid yn ffafrio yr arferiad hwn yn fwy nag ereill. Y mae î, ê, ô, ac ŵ, i gyd yn llafariaid sydd yn taflu y llais "yn mlaen," fel y gall unrhyw un wybod trwy wneuthur ychydig o brawfiadau â'i lais ei hun. Y mae yr arferiad mynych ar y llafariaid hyn wrth leisio, mewn cysylltiad a thriniaeth briodol yr anadl, yn galluogi y llais-feithrinwr, medd Madame Seiler, i "ffurfio, allan o lais cras, caled, ac anhyfryd, lais mwyn a hyfryd." Mae y llafariad agored *a* (megys yn y gair *tân*) yn cael ei ffurfio yn gyffredin gan y Saeson, y Francod, a'r

Allmaenwyr, yn mhell *yn ol* yn y safn, ond "nid yw yr Eidaliaid," medd Madame Seiler, "yn ffurfio un llafariad mor bell yn mlaen a'u *aa* brydferth a chlir." Pan yn dynwared yr hen lais-feithrinwyr Eidalaidd yn nefnyddiad y llafariad hwn—yr hwn sydd mor ddefnyddiol wrth leisio, gan ei fod yn agor y genau yn briodol—bydded i ni ofalu ei daflu yn ddigon pell yn mlaen, ac felly rhoddi iddo ei ansawdd ystwyth clir Eidalaidd. Y mae yn anffodus nad ydyw yr î, ê, ô, a'r ŵ, fel y mae yr â Eidalaidd, yn tueddu at agor y genau yn briodol.

Y mae **triniaeth briodol yr anadl** yn achosi tarawiad cywir y seiniau, yn gystal a'u purdeb a'u hansawdd. Y mae annigonedd o anadl yn peri i'r llais fflatio, a bod ar yr un pryd o natur tlawd a theneu. Y mae y nerth *diangenrhaid* lleiaf o lais yn gwneud ei hun yn glywadwy gyda'r sain clir priodol, ac yn peri cymysgedd ac *anmhuredd.* "Y mae pob sain," ebe Madame Seiler, "yn gofyn, er ei chynyrchu yn berffaith, dim ond swm penodol o anadl, ac nis gellir ei ychwanegu na'i leihau heb niwed." Gan fod yn rhaid derbyn yr anadl i mewn i'r ysgyfaint trwy yr un cyfrwng ag y mae yn eu gadael, y mae yn amlwg fod y gweithrediad rheolaidd o anadlu yn cael ei atal pan yr ydym yn siarad neu yn canu. Rhaid, gan hyny, wrth ofal a rheoleiddiad. Y mae areithyddwyr, yn gystal a llais-feithrinwyr, yn cynghori fod yr ysgyfaint i gael eu *cadw* yn rhydd lawn. Dywed Mrs. Blaine Hunt: "Arferwch gymeryd anadl *pa le bynag y gellwch*, er na fyddwch yn teimlo yr angen am dano ar y pryd. Y mae hyn o bwys *i rai yn dechreu*, gan ei fod yn eu dysgu yn fuan i'w gymeryd heb drafferth, ac yn llai canfyddadwy i'r gwrandawr." Wrth gwrs, *nis gall* y canwr call gymeryd anadl mewn unrhyw le y byddai trwy hyny yn dinystrio ystyr a rhediad y geiriau neu yr adranau cerddorol. Nid oes eisieu gwneud egni trystfawr i dynu yr anadl i mewn; ond i'r genau a'r ffroenau fod yn agored, nid rhaid ond lledu yr asenau ac y *mae* yr ysgyfaint yn llawn. Yn nechreu ei efrydiaethau, dylai y canwr gymeryd anadl yn niwedd, ac mewn rhyw le cyfleus ar ganol, pob llinell o farddoniaeth. Yn raddol y mae y cyhyrau sydd yn *dal* yr asenau allan ar yr ochrau, yn gystal a'r rhai sydd *o dan* yr ysgyfaint, trwy y rhai yn unig y dylai yr anadl gael ei daflu allan, neu yn hytrach ei *dreulio* allan, yn enill cryfder. Ni ddylid dysgwyl gallu dal sain yn hir yn y dechreu; ac y mae gallu *chwyddo* ar y cyfryw seiniau ar ol eu rhoi allan yn iawn, fel y mae Garcia, Bassini, ac ereill yn dangos, ei hun yn mysg cyrhaeddiadau olaf gallu lleisiol. Nid oes ond ymarferiad cyson all roddi i'r cyhyrau y gallu rheoleiddiol angenrheidiol. Ni ddylai ymarferiadau lleisiol, am hir amser, fel y byddai yr hen feistri Eidalaidd yn gofyn, gael eu canu ond *yn wan.* Y mae yr ymgais i ganu yn wan (neu *piano*) gyda bron lawn, ond nid gorlawn, yn *rhwymo* sylw at reoleiddiad y cyhyrau; y mae hefyd yn galluogi y dysgybl i *ganfod drosto ei hunan* beth a feddylir wrth burdeb ac ansawdd hyfryd sain. Hyd nes y canfyddir hyn yn iawn, ni wneir dim. Rhaid i'r dysgybl mewn dosbarth cyffredin yn y mater hwn, ddybynu arno ei hun, ac ar ei ymarferiad dyddiol. Ychydig o sylw i leisiau unigol y gall athraw mewn dosbarth ei roddi. Ond y mae llawer yn cael ei wneud mewn dosbarthiadau trwy efelychiad a chyd-deimlad. Yr ydym wedi sylwi fod pob athraw sydd yn gwybod ei hunan beth yw sain dda, yn *mynu* ei gael yn ei ddosbarth, ac unwaith y ffurfir yr arferiad iawn yno, y mae y newydd-ddyfodiad yn syrthio i mewn yn naturiol a rhwydd.

**Ystum y Corff.**—Dylai y canwr (*a*) sefyll a'i sodlau wrth eu gilydd, fel y bydd y milwr pan yn sefyll wrth ei bwys; (*b*) ei ben i fynu ond nid yn cael ei daflu yn ol; (*c*) ei ysgwyddau yn cael eu taflu yn ol, ond nid i fynu; (*ch*) ei ysgyfaint yn cael eu cadw yn naturiol lawn, ond nid yn codi y fron, oddigerth mewn amgylchiadau neillduol, yr ysgyfaint heb fod byth yn cael eu dirwasgu, ond yn gwasgu yn erbyn y dillad ar bob tu, a chyhyrau isaf y bol yn cael eu tynu i mewn; (*d*) y genau yn rhydd agored, ond nid ar ffurf safn pysgodyn 0,—y gwefusau yn cael eu gwasgu ar y danedd, ac yn cael eu tynu ychydig o ffordd oddiwrth yr agoriad, fel ag i beidio trymhau y swn, yr ên isaf yn syrthio, taflod y genau yn cael ei godi yn y fath fodd fel ag i *ddal* ar ei ran flaenaf y ffrwd o awyr o'r ysgyfaint, a'r tafod yn fflat, a'i flaen yn unig yn cyffwrdd y danedd isaf. Rhaid i'r canwr efrydu y rheolau hyn yn fanwl, ac ar y dechreu gwnant ef yn anesmwyth ac ymwybyddol; ond yn bur fuan, a chyda gofal, bydd yr ystum briodol yn *dod yn arferiad.* Daw pob peth yn bur hawdd, a bydd arwyddair yr hen feistriaid yn cael ei wirio, "Gwyneb siriol wna sain hyfryd." Mae yr athraw yn galw y dysgyblion i ystum neu agweddiad priodol trwy alw am "a," "b," "c," "ch," "d." Ar unrhyw alwad y mae y dysgyblion yn cymeryd

yr ystum a ddynodir gan y lythyren, ac y mae yr athraw yn gwylied i fod yn siwr eu bod yn gwneyd hyny yn iawn. Y mae yn gwneyd amnaid—ysgogiad—â bysedd ei law chwith, ar y rhai nad ydynt yn agor eu genau wrth ei fodd, ac amnaid arall ar y rhai nad ydynt yn cadw eu danedd tua lled dau fys ar wahan. Y mae yn ysgwyd ei ben ar y rhai nad ydynt yn gwneyd "gwyneb siriol," ac felly yn mlaen. Y mae Garcia yn dywedyd: "Y mae genau agored ar ffurf hirgrwn fel safnau pysgod yn gwneud seiniau o natur trist a grwgnachlyd; gwefusau yn taflu allan ar ffurf twmffed, yn gwneyd llais caled cyfarthlyd; genau pur lydain, y rhai sydd yn dangos y danedd yn ormodol, yn gwneyd y sain yn gras; danedd yn rhy agos yn gwneud seiniau crebachlyd." Rhaid talu sylw i'r pethau hyn yn ystod ac yn nechreu pob gwers ddechreuol. Nid oes ffordd arall i gadw y dysgybl rhag arferion aflcr a chanu yn fras a fflat.

Ym. **1.**—*I ddysgyblu y cyhyrau ar ochrau yr ysgyfaint ac odditanynt.*—I gael ei fynychu ar agoriad pob gwers yn y gris cyntaf.

Mae y dysgyblion i sefyll, os bydd modd, mewn un linell o gylch yr ystafell (fel y gall yr athraw fyned at bob un, a dangos yn ddystaw unrhyw wall ystum tra mae yr arferiad yn myned yn mlaen), ac y mae yr athraw i godi ei law tra bydd y dysgyblion yn tynu eu hanadl i mewn yn araf a didrwst. Mae y dysgyblion i *ddal* eu hanadl tra y mae y llaw yn aros i fynu; ac i ollwng allan yr anadl drachefn trwy y genau *yn raddol* tra bydd yr athraw yn gostwng ei law. Mae yr athraw i gyfrif "un," "dau," "tri," (yn ol M. 60, sef yn ol tip awrlais wyth-niwrnod,) tra y mae yn gostwng ei law. Mae y dysgyblion i ddyweyd, trwy ddal allan eu dwylaw, pwy ddaliodd allan hyd "dri," "pedwar," "chwech," &c. Rhaid i'r athraw fod yn bur foddlawn ar "bedwar" yn y dechreu, ac nid ydyw i ddysgwyl hyd y nod hyny oddiwrth ysgyfaint gweiniaid.

Ym. **2.**—*I ddysgyblu y larynx* (beudag) *er cynyrchu sain glir a phur.*—I gael ei fynychu ar agoriad pob gwers yn y gris cyntaf.

Mae yr athraw i ganu ar y llafariad *ê* (megys yn y gair gên), tôn ganol y llais, dyweder G neu A. Mae'r dysgyblion i efelychu y sain, i ddechreu mor fuan ag yr egyr yr athraw ei law, ac i dori y sain yn sydyn y foment y bydd yr athraw yn cau ei law. Ar ol gwneyd hyn y mae yn rhoddi y sain *ê* drachefn, ond yn fuan yn ei newid i'r sain mwy agored a hyfryd *â*, ond yn newid mor lleied ag y gall ar ystum *ê* y tafod, fel ag i sicrhau yr *â* agored a llydan. Mae y dysgyblion i efelychu, a'r sylw yn cael ei dalu yn hollol i'r ystum ac i burdeb y llais. Gwneir hyn gydag amryw seiniau, dyweder gyda D, gydag F ac A.

## Yr Ymarferiadau Cyntaf mewn Seiniadaeth.

**Graddeg, neu Traw** *(Pitch.)*—Wrth "traw" yr ydym yn golygu *uchder* neu *isder* seiniau, y gwahaniaeth hwnw sydd rhwng y seiniau a gynyrchir tua'r llaw dde ar y perdoneg *(piano)* a'r rhai ar y llaw chwith, neu rhwng gwich a chwyrniad. Nid ydym yn awyddus, ar hyn o bryd, i ddysgu traw seiniau ynddynt eu hunain. Ein gwaith cyntaf, a'n prif waith, ydyw addysgu perthynas seiniau mewn tôn *(tune)* â'r hyn a elwir yn gyweir-sain neu gyweirnod y dôn hono.

**Cyweir-sain.**—Y mae pob peth mewn tôn yn dybynu ar ryw sain a "roddir," a'r hon a elwir yn sain lywodraethol neu gyweir-sain. Ar hyn o bryd fe darewir y cyweir-sain gan yr athraw i'r dysgybl. Mae y *modulator* yn dangos y cyweirsain hwn gyda'i chwe sain berthynasol, fel yr arferir hwynt yn gyffredin. Dysgir eu canu gan y dysgybl yn gyntaf trwy ganfod eu heffaith ar y meddwl, ac *nid* trwy sylwi ar eu pellder perthynasol oddiwrth eu gilydd.

**Cynllun** *(Pattern)*.—Nid yw yr athraw byth yn canu *gyda'r* dysgyblion, ond y mae yn gwneyd sain byr a theneu yn "gynllun" iddynt. Gorchwyl cyntaf y dysgybl ydyw *gwrando yn dda* ar y cynllun, ac yna ei efelychu yn gywir. Y gwrandawydd goreu sydd yn canu oreu. Pan ddaw tro y dysgybl i ganu, bydded iddo daro y seiniau yn benderfynol, a'u dal cyhyd ag y bydd yr athraw yn dewis. Mor fuan ag y defnyddir y *modulator*, mae yr athraw yn pwyntio arno, tra y mae yn gosod y cynllun, a hefyd tra y mae y dysgybl yn ei efelychu.

Ym. **3.**—Mae yr athraw yn gofyn i'w ddysgyblion am sain lled *isel* ar eu llais. Y mae yn cael ganddynt ei gwneyd yn glir, a'i hestyn allan yn dda ar y sill agored *â*. Y mae yn ei gymeryd fel *cyweir-sain* ei dôn. Y mae yn ei ganu, ac yn union yn ychwanegu ato yr hyn a adwaenir wrth ei bumed tuag i fynu. Mae y dysgyblion yn ceisio efelychu y "cynllun," gan ganu (ar y sill *â*) y cyweir-sain, a'r sain mwyaf perthynasol iddo. Pan, ar ol cynllun cywir ac efelychiad, y gwneir hyn,—

**Ym. 4.**—Y mae yr athraw yn rhoi sain isel ond *gwahanol* yn gyweir-sain, ac yn gofyn i'r dysgyblion roddi iddo y sain berthynasol arall drachefn. Y mae yn gwneyd hyn lawer gwaith, gan newid y cyweir-sain bob tro.

**Enwau ac Arwyddion.**—Mor fuan ag y deallir peth, y mae o bwys cael *enw* arno, ac weithiau *arwydd* am dano hefyd. Gwna unrhyw enw neu arwydd ag y cytunir arnynt rhwng yr athraw a'r dysgybl y tro, ond y mae yn gyfleus i arfer yr un enwau ag y gwna ereill. Ar ein *modulator*, ac yn ein nodiant ni, yr ydym yn galw y cyweir-sain a roddwyd yn *Doh*, a'r sain agos berthynasol arall yn *Soh*. Mewn ymarferiadau lleisiol, pan y mae yn rhaid i'r athraw edrych ar y dysgyblion tra y mae efe yn rhoddi arwyddion iddynt i'w cyfarwyddo i ganu, bydd yn gyfleus i ddefnyddio y llaw gauedig fel arwydd am *Doh*, a'r llaw agored yn pwyntio allan, a'r fawd i fynu, am *Soh*.

**Ym. 5.**—Mae yr athraw yn rhoddi *Doh* a *Soh* (ar yr *â* agored), ac yn union wedi hyny sain arall gwahanol i *Soh*, yr hon a adwaen efe fel trydydd y raddfa. Mae y dysgyblion i efelychu ei gynllun ef. Yr *enw* Tonic Solfäyddol ar y sain hon ydyw *Me*, a'r arwydd ydyw y llaw agored a'r clodr i lawr.

**Ym. 6.**—Mae yr athraw gyda'r llaw-arwyddion a enwyd yn galw ar y dysgyblion i ganu (tra y mae efe yn sylwi ar eu hystum ac agoriad eu genau,) ar y sain agored *â* y cyfryw frawddegau a'r rhai a ganlyn, *Doh, Soh, Me, Soh, Doh,—Doh, Me, Soh,—Soh, Me, Doh, Me,* &c. &c. Mae yr athraw yn newid ei gyweir-sain gyda phob ymarferiad newydd ymron, rhag i'r dysgyblion gael eu temtio i geisio canu yn ol y *traw, neu uchder y seiniau ynddynt eu hunain*, yn lle talu sylw i *berthynas* y seiniau.

**Effaith Feddyliol.**—Mae yr effaith a deimlir gan y meddwl tra yn gwrando ar y tair sain hyn yn codi yn gyntaf oddiwrth eu gwahaniaeth mewn traw *(pitch)*, gan fod y naill yn uwch neu yn îs na'r llall, ac yn ail ac yn benaf, trwy eu bod yn *cydweddu* yn dda â'u gilydd, fel y mae yn hyfryd eu clywed y naill yn union ar ol y llall, ac yn hyfryd eu clywed yn cael eu seinio gyda'u gilydd. Mae athroniaeth seiniau yn dangos mor agos a phrydferth y mae y tair sain yma yn perthyn i'w gilydd, yn nifer eu dirgryniadau. Gellir dangos eu cyd-berthynas trwy seinio ynghyd yn 1af *Doh* a *Soh*, 2il *Doh* a *Me*, 3ydd *Me* a *Soh*, ac yn 4ydd *Doh Me Soh*. Pan y mae tair sain yn meddu y berthynas hon yn cael eu seinio gyda'u gilydd, gelwir hwynt yn *cord*. Arweinir y dysgyblion i ganfod y gwahanol *effaith ar eu meddyliau* gan dair sain y cord hwn. Gan eu bod yn ffurfio cord y cyweir-sain, y maent yn seiniau cedyrn colofnaidd y raddfa, ar ba rai y mae y lleill yn dibynu; ond y maent yn gwahaniaethu yn *null* eu cadernid, un yn fwy dysglaer, un arall yn fwy nerthol a gorphwysol, un arall yn fwy tawel, &c. Wedi i'r athraw ddwyn ei ddysgyblion i feddu dirnadaeth glir am y seiniau hyn, ar wahan oddiwrth eu cymdeithasiad â'r sillau, y mae yn cysylltu â phob un ei sill canadwy, gan ddysgu trwy gynllun, ac yn pwyntio ar y modulator y chwe' ymarferiad canlynol. Er mwyn efrydwyr unigol, y rhai nas gallant gael eu dysgu fel hyn, mae yr ymarferiadau hyn yn cael eu hargraffu ar ffurf darluniau gyda braslun o'r modulator ar yr ymyl. Defnyddir llythyren gyntaf y sillau ar y modulator i arwyddo y nodau, ac felly y maent yn pwyntio at y modulator yn llygad y meddwl. Rhoddir ffurf culach i'r lythyren m (ᵐ) er mwyn cyfleusdra wrth argraffu.

Ym. 7. Cy. D ac F. Ym. 8. Cy. D ac F. Ym. 9. Cy. D ac F.




*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. 10. cy. D ac F. Ym. 11. cy. D ac F. Ym. 21. cy. D ac F.




**Wythodau.**—Y mae yn natur cerddoriaeth fod seiniau, pan yn dirgrynu can gyflymed neu can arafed arall a rhyw sain arall, yn seinio mor debyg i'r sain arall hono, neu yn cyfuno mor berffaith a hi, fel y maent yn cael eu trin fel yr un sain ac yn derbyn yr un enw. Y *maent yr un* o ran sefyllfa berthynasol ac effaith feddyliol, gan mai y gwahaniaeth mewn graddeg ydyw yr *unig* wahaniaeth rhyngddynt. Fel hyn y mae i bob sain ei sain gyferbyniol neu ei hailadroddiad i fyny ac i lawr. Gelwir y ddwy sain yn wythfedau neu wythodau y naill i'r llall, oblegid os cyfrifir seiniau graddfa o un sain i'r ailadroddiad o'r sain gyffelyb (gan gyfrif y ddwy sain yn mhob pen) yr ydych yn cyfrif *wyth* neu wythawd o seiniau. Yr ydym yn dodi y ffigiwr un i fynu fel hyn ($^{|}$) i ddynodi yr wythawd uchaf, ac i lawr fel hyn ($_{|}$) i ddynodi yr wythawd isaf. Os ydym am ddynodi wythodau uwch neu îs na hyny yr ydym yn arfer y ffigiwr ($^{2}$). Yr *arwydd* am yr wythawd uwch neu îs ydyw codi neu ostwng y llaw sydd yn rhoddi yr arwydd.

Ym. 13. Mae yr athraw yn rhoddi sain *isel* ar y llais am y *Doh*, ac yn rhoddi cynllun neu batrwm ar y sill agored *d*, **d**, **m**, **s**, **d$^{|}$**. Mae y dysgyblion yn efelychu. Drachefn mae yr athraw yn gwneyd llaw-arwyddion o rai o'r seiniau hyn; ac yn gofyn i'r dysgyblon eu canu, tra byddo ef yn gwylied yr ystum ac agoriad y genau,—ac yn amrywio y cyweirnod bob tro.

Ym. 14. Mae yr athraw yn rhoddi sain *ganol* ar y llais am *Doh*, ac yna yn canu yn gynllun ar *d*. **d**, **m**, **s**, **s$_{|}$**, **d**. Mae y dysgyblion yn efelychu. Y mae yn gwylied ei ddysgyblion drachefn ac yn gofyn iddynt trwy law-arwyddion i wneyd unrhyw o'r seiniau hyn a ddewiso, gan amrywio y cyweirnod yn mhob ymarferiad.

Mae yr athraw i roddi cynllun blaenorol mewn Sol-ffa o bob un o'r ymarferiadau hyn ar y modulator.

Ym. 15. cy. C. Ym. 16. cy. C. Ym. 17. cy. G.




*Cyf. Saf. (New.)*

### Ymarferiadau Cyntaf mewn Nodiant.

Yn yr ymarferiadau canlynol, y mae "Cyweirnod G," "Cyweirnod C," "Cyweirnod A," yn hysbysu yr athraw pa le i daro ei *Doh.* Mae y llythyrenau yn pwyntio ar y *modutator yn llygad y meddwl.* Yr athraw sydd yn taro y cyweirnod. Mae y dysgyblion yn "seinio y cord," gan ganu (os sain ganol y llais fydd eu *Doh*), *Doh, Soh, Me, Doh*; a phan fydd ganddynt sain isel yn *Doh, Doh, Me, Soh.* Gan nad oes dim arwydd am amser gellir gwneyd y seinau mor hir neu fyr ag y bo'r athraw yn dewis. Bydd tarawiad ysgafn ar y bwrdd yn dyweyd wrth y dysgyblion pa bryd i ddechreu pob sain. Yn ystod yr ymarferiad hwn byddai yn burion gadael i'r modulator mawr grogi o flaen y dysgyblion, fel y gallont daflu golwg arno pan y mae eu modulator meddyliol yn methu.

**Ym. 18.** CY. **G.**

**$s_1$ d m s m s m d**

**Ym. 19.** CY. **C.**

**s $d^1$ s m s m s d**

**Ym. 20.** CY. **A.**

**d $s_1$ d m s m d**

**Ym. 21.** CY. **C.**

**s m s d $d^1$ m s d**

**Ym. 22.** CY. **A.**

**m d m s s $s_1$ d**

**Ym. 23.** CY. **C.**

**s m $d^1$ m s d m**

### Ymarferiadau Cyntaf mewn Amser.

**Amser a Mydr.**—Mae y gair amser yn cael ei ddefnydio mewn tri o wahanol ystyron. Weithiau mae yn golygu *cyflymdra ysgogiad* y gerddoriaeth, fel pan byddwn yn son am amser cyflym, amser araf, &c. Dyma yr hyn a elwir yn "Gyflymdra Ysgogiad." Weithiau y mae yn golygu trefniad yr aceniadau mewn tôn, fel pan y byddwn yn son am "amser cyffredin," "amser triphlyg," &c. Dyma yr hyn a elwir genym "Y mesur." Weithiau y mae yn golygu parhad amrywiol set o nodau yn sefyll gyda'u gilydd, fel pan soniwn am "gadw yr amser" mewn adran arbenig. Yr ydym ni yn galw y trefniadau hyn yn "Fydrau." Mae y gair Mydr hefyd yn cael ei ddefnyddio mewn ystyr gyffredin i ddynodi perthynasau eangach amser ac aceniad, megys nifer a math y mesurau mewn tôn, a'r cyfartaledd a roddir i bob "adran" o'r dôn.

**Aceniad neu Bwyslais.**—Mae yr athraw wrth ganu ar un sain, ymarferiad fel yr un canlynol,

CY. **G.**

| d :d | d :d | | :d | d :d | d |
|---|---|---|---|---|---|
| aw - *dwr* | car - *u* | | *mwyn-* | hau *cryn-* | hoi |

yn arwain y dysgyblion i wahaniaethu rhwng acen *ysgafn* ac acen **drom** neu gref, mewn geiriau, yn gystal ag mewn cerddoriaeth. Bydd yr athraw yn ofalus i beidio gadael i'r dysgyblion wneyd yr acen drom yn rhy drom, fel ag i roddi tarawiad sydyn i'r sain yn lle ei wneyd yn unig yn sain aceniadol. Y mae acen yn cael ei chynyrchu trwy gyfuno *eglurder* (neu sydynrwydd) a *nerth* yn eu gwahanol raddau, ac y mae yn gwahaniaethu mewn natur yn ol fel y mae y naill neu y llall o'r elfenau hyn yn oruchaf. Mae bar syth ( | ) yn dangos fod y nodyn sydd yn ei ddilyn i gael ei ganu gyda'r acen drom. Mae dau ddot fel hyn ( : ) yn dynodi fod y nodyn sydd yn eu dilyn i gael ei ganu gyda'r acen ysgafn.

**Curiadau.**—Fe sylwir fod y llais mewn cerddoriaeth yn cael ei roi allan mewn curiadau neu ymwthiadau dilynol, rhai yn meddu yr acen drom a rhai yr acen ysgafn. Yr ydym yn galw y rhai hyn yn *guriadau.* Mae yr athraw i roi esiampl o hyn. Mae y curiadau yn symud yn gyflymach mewn rhai amgylchiadau ac yn arafach yn y lleill, ond y mae curiadau yr un don yn gyfartal o ran hyd i'w gilydd. Rhydd yr athraw esiampl o hyn. Mae dechreu curiad o amser yn cael ei ddangos gan y marc am acen fel uchod, ac y mae ei ddiwedd yn cael ei ddangos gan y marc nesaf am acen. Wrth argraffu yn nodiant y Tonic Sol-ffa, yr ydym yn gosod y marciau am acen yn mhob llinell o'r gerddoriaeth, mewn pellderau cyfartal, fel ag i fesur yr amser i'r llygad.

**Mesur.**—Mae yr aceniadau mewn cerddoriaeth yn dygwydd mewn trefn rheolaidd,—hyny yw, os

dechreuant fel hyn, CRYF, *gwan*, y maent yn myned yn mlaen yn yr un ffordd,—os dechreuant CRYF, *gwan*, *gwan*, y maent yn parhau i ddisgyn yn yr un drefn, ac felly yn y blaen. Mae yr athraw yn egluro hyn wrth ganu tonau i'r dysgyblion, ac yn gofyn iddynt hwy pa *drefn o aceniadau* a ddefnyddia. Mae yr amser o un acen *drom* i'r nesaf yn cael ei alw yn *fesur*. Dyna y ffurf *gyntefig* neu gysefin ar fesur. Os bydd y don yn dechreu ar acen ysgafn, mae y mesur yn cael ei gyfrif o hono, ac yn parhau nes bydd yr un acen yn dygwydd drachefn. Dyma ffurf *ail-raddol* mesur.

**Y Mesur Dau-guriad.**—Pan y mae aceniadau ton yn dygwydd yn y drefn ganlynol, CRYF, *gwan*, CRYF, *gwan*, ac felly yn mlaen, neu *gwan*, CRYF, *gwan*, CRYF, ac felly yn mlaen, dywedir fod y don yn y *mesur dau guriad*. Dynodid y ffurf gyntefig ar y mesur dau guriad fel hyn, { | : } a'r ffurf ail-raddol fel hyn { : | }.

**Enwau ar Amser.**—Yr ydym yn galw un curiad (pa beth bynag fydd gradd yr ysgogiad) yn TA-E. Pan yn dymuno dynodi acen drom yr ydym yn dwyn i mewn y llythyren R, fel hyn, TRA-E.

Ym. **24**. Mae yr athraw yn gofyn i'w ddysgyblion i ganu nifer o fesurau dau guriad cyntefig ar un sain i'r enwau hyn ar amser, tra y mae efe yn curo yr amser yn rheolaidd. Y mae yn gwneyd hyn hyd nes y bo pawb wedi dyfod i deimlo sigliad y mydr, (TRA-E, TA-E, TRA-E, TA-E, &c.,) fel ag y bydd yr holl leisiau yn taro dechreu pob curiad gyda'u gilydd yn berffaith. Yna y mae yr athraw yn canu mesurau *bob yn ail* â'r dysgyblion, gan gadw yr un cyflymdra. Y maent yn gwneyd hyn drachefn gyda gwahanol ysgogiad, ond yn cymeryd gofal i ddal i fyny y cyflymdra ysgogiad dechreuol. Yn yr ymarferiad hwn gofaled y dysgybl i ganu pob curiad (TA-E) yn llawn i'r diwedd. Mae yr ail lafariad wedi ei fwriadu i beri iddo wneyd hyny.*

Ym. **25**. Yn yr un modd mae yr athraw yn peri i'r dysgyblion ymarfer mewn mesurau dau guriad ail-raddol (TA-E, TRA-E, TA-E, TRA-E, &c).

Ym. **26**. Caner Ym. 20, 22, a 23, gan ddechreu gyda'r acen drom, a thrachefn gan ddechreu gyda'r acen ysgafn.

Ym. **27**. Caner Ym. 18, 19, a 21, gan ddechreu gyda'r acen ysgafn, a thrachefn gan ddechreu gyda'r acen drom.

**Y Mesur Tri-churiad.**—Pan y mae aceniadau ton yn disgyn yn rheolaidd fel hyn, CRYF, *gwan*, *gwan*, ac felly yn mlaen (hyny yw, fel yr aceniadau yn y geiriau "**Er** *mor dden***iad***ol i'r* **gol***wg*," &c.), neu *gwan*, CRYF, *gwan gwan*, CRYF, *gwan*, ac felly yn mlaen (fel yr aceniadau yn y geiriau *dym***chwel***yd*, *cyf***reith***lon*, *gwy***bod***aeth*), dywedir fod y don yn y *mesur tri-churiad*. Ffurf gyntefig y mesur tri churiad sydd fel hyn | : : || a'r ailraddol fel hyn : | : ||. Yn y mesur tri churiad, *pan genir ef yn araf*, nid yw yr *ail* acen yn wan, ond yn fynych yn agos mor gref a'r gyntaf. Er mwyn cyfleusdra, pa fodd bynag, yr ydym bob amser yn ysgrifenu y mesur hwn fel uchod.

Ym. **28**. Par yr athraw i'w ddysgyblion ganu TRA-E, TA-E, TA-E (y mesur tri-churiad cyntefig) ar un sain, tra y mae efe yn curo amser, yn y dechreu gydag un cyflymder ysgogiad ac yna gydag un arall, gan gadw bob amser yn mhob ymarferiad y cyflymdra gyda pha un y dechreuodd.

Ym. **29**. Gwna yr athraw yr un fath gyda TA-E, TRA-E, TA-E (y mesur tri-churiad ail-raddol.)

Ym. **30**. Caner ymarferiadau 20 a 22 yn y mesur tri-churiad cyntefig, gan wneud dau fesur, a churiad cyntaf y nesaf, i bob ymarferiad.

Ym. **31**. Caner ymarferiadau 18 a 19 yn y mesur tri churiad ail-raddol, gan wneyd o bob ymarferiad dau fesur, a dau guriad o drydydd mesur.

**Seiniau Parhaol.**—Pan y mae sain yn cael ei pharhau o un curiad i'r nesaf, yr ydym yn dangos y parhad trwy linell wastad fel hyn (—). Mae yr enw ar amser y seiniau parhaol hyn i'w gael bob amser trwy adael allan y cydseiniaid fel hyn, TA-E,-A-E, &c. Y mae dysgyblion yn dueddol i beidio rhoddi yr hyd priodol i'r seiniau parhaol hyn, ond y mae newidiad y llafariad o E i A yn eu gorfodi i nodi pob curiad ar wahan.

**Haner Curiadau.**—Pan y mae curiad (TA-E) yn cael ei ranu yn gyfartal i ddwy ran, yr ydym yn rhoddi yr enw TATE iddo. Yr arwydd am guriad wedi ei haneru yn deg ydyw dot yn y canol fel hyn : ( | . :) ac fel hyn : (|d .m:).

**Curo Amser.**—Ni ddylid byth ganiatau i'r dysgyblion "guro" amser hyd nes y byddont wedi enill *teimlad o amser* yn y meddwl.

**Siarad mewn Amser.**—Y mae gwerth yr enwau ar amser yn dybynu ar eu bod yn cael eu defnyddio yn barhaus *mewn amser*,—pob sill yn cael ei chyfartaledd priodol.



* Yn mhellach yn mlaen (tudal. 18) gellir gadael yr E allan.

**Tate-io.**—Yr ydym yn bwriadu arfer y gair hwn fel un byr i olygu "canu ar yr enwau ar amser," fel yr ydym yn defnyddio y gair "Sol-ffeio i arbed dywedyd yn gwmpasog "canu trwy ddefnyddio sillau y Sol-ffa." Yn nghamrau cyntaf unrhyw gelfyddyd, gwell ydyw dysgu pob elfen ar wahan. Gan fod y dysgybl wedi dysgu seiniadaeth ar wahan oddiwrth amser, ar y modulator, felly yn awr gydag help y Daflen ar Amser, y mae yn efrydu amser ar wahan oddiwrth seiniadaeth. Mae y rheol hono mewn addysgiant da, fod pob pwnc a ddygir i sylw am y tro cyntaf i gael mwy na'i gyfran deg o bob gwers, yn dra chymwys yn yr amgylchiad hwn; oblegyd y mae genym i sefydlu yn y *cof* gysylltiad rhwng y sill a *mydr*, fel wrth ddysgu seiniadaeth yr ydym wedi dechreu eisoes sefydlu yn y cof gysylltiad rhwng y sill a *chyfrwng*. 1af. Mae yr athraw yn rhoi cynllun ac yn pwyntio ar y Daflen Amser (yn hollol fel y mae yn rhoi cynllun ac yn pwyntio ar y modulator), ac y mae'r dysgyblion yn ei efelychu (gan tate-io ar un sain) *haner* cyntaf un o'r ymarferiadau mewn amser. Bydd pwyntydd yr athraw yn curo amser yn ddigon da fel y bydd yn taro ar y Daflen. 2il. Mae yr athraw a'r dysgyblion yn tate-io y frawddeg ar amser *bob yn ail*, yr athraw yn canu yn dyner, gydag aceniad clir, ac amseriad manwl a llawn, ond nid yw i bwyntio neu daro y Daflen ond pan y mae y dysgyblion i gymeryd eu tro. Mae hyn yn cael ei wneyd hyd nes y mae y dysgyblion yn teimlo'r ysgogiad, yn taro yr acen yn dda gyda'u gilydd, ac yn rhoi i bob sain ei llawn hyd. 3ydd. Dysgir ail haner yr ymarferiad yn yr un modd trwy gynllun, a myned drosto bob yn ail. 4ydd. Mae y ddwy ran i gael eu gosod wrth eu gilydd a chynllun i gael ei roi, a chanu bob yn ail fel uchod, ond yn gyflymach ac heb bwyntio, yr athraw yn curo amser yn unig pan y daw tro y dysgyblion i ganu. 5ed. Mae y dysgyblion i tate-io oddiwrth y llyfr fel y cyfarwyddir hwynt yn Ym. 32. Mae y gwaith arall o gadw amser ar y sill "la," o ganu y ffurfiau ar amser ar seiniau neillduol, a tate-io y gwahanol ffurfiau ar donau, yn cael eu dwyn i mewn ychydig yn ddiweddarach, pan y mae yr enwau ar amser yn fwy cynefin. Parhäer pob gwaith hyd nes bo'r ymarferiad yn berffaith. Y mae y gorchwylion amrywiol hyn yn cynyddu mewn anhawsder, yn rhoddi amrywiaeth i waith y dysgybl, ac yn cadw ei sylw yn sefydlog ar bwnc sydd, fel arall, yn annyddorol er yn dra phwysig.

Ym. 32. *Yn gyntaf yn araf*—eler drosto felly dair gwaith; *yna yn gyflym*—eler drosto chwe gwaith.

| l | :l | l | :— | l | :— | l | :l ||
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| TRA-E | TA-E | TRA-E | -A-E | TRA-E | -A-E | TRA-E | TA-E |

Ym. 33. *Yn araf—a chyflym.*

| l | :l | l | :l | l | :— | — | :— ||
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| TRA-E | TA-E | TRA-E | TA-E | TRA-E | -A-E | -A-E | -A-E |

Ym. 34. *Yn araf—a chyflym.*

| :l | l | :— | — | :l | l | :l | l ||
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| TA-E | TRA-E | -A-E | A-E | TA-E | TRA-E | TA-E | TRA-E |

Ym. 35. *Yn araf—a chyflym.*

| l | :l | :l | l | :— | :l | l | :l | :l ||
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| TRA-E | TA-E | TA-E | TRA-E | A-E | TA-E | TRA-E | TA-E | TA-E |

Ym. 36. *Yn araf—a chyflym.*

| :l | l | :l | :l | l | :— | :— | l | :l ||
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| TA-E | TRA-E | TA-E | TA-E | TRA-E | -A-E | -A-E | TRA-E | TA-E |

*Cyf. Saf. (New.)*

**Cadw amser ar La.**—Wedi i'r holl ymarferiadau uchod gael eu dysgu yn iawn, gyda'r enwau ar amser, pâr yr athraw iddynt gael eu dysgu drachefn yn yr un modd, ond ar y sill agored *La*. Mae y sillau amser, fel y sillau Sol-ffa, yn fanteisiol i'r cof, ac y mae yn rhaid eu defnyddio yn fynych yn y grisiau cyntaf. Ond ni ddylid eu defnyddio yn hollol, rhag i'r dysgyblion fod yn analluog i ganu mewn amser cywir ond arnynt hwy.

Ym. 37. Caner Ym. 32 hyd 36 ar *La*.

### Seiniadaeth.

**Seinio ar La.**—Mor fuan ag y bo sillau y Sol-ffa, sydd mor fanteisiol i helpu'r cof, wedi eu dysgu yn dda, dylid *Laio* pob ton o'r *llyfr*. Y mae rhai athrawon yn gwneyd arferiad o *Laio* ar y modulator mor fuan ag y bo'r cynllun ar y Sol-ffa wedi ei ddysgu. Dylai un amcan fod bob amser o flaen meddwl yr athraw tra mae ei ddysgyblion yn canu *La*, sef cael y lleisiau i ymdoddi yn eu gilydd mewn sain iawn. Gan fod pob un yn defnyddio yr un sill *La*, y mae yn haws sylwi pan y maent yn canu yn *unllais* (hyny yw, pan y mae pawb yn canu yr un seiniau,) a ydyw y lleisiau yn *ymdoddi* i'w gilydd, a phan yn canu *lleisiau gwahanol* a ydyw y seiniau yn cydgordio yn dda gyda'u gilydd.

**Canu dau Lais.**—Ar y dechreu y mae yn anhawdd iawn i ddysgyblion ganu yn annibynol ar eu gilydd. Y ffurf symlaf ar ganu dau lais ydyw pan y mae un set o leisiau yn taro o hyd yr un sain (yn "canu'r gloch" megys,) tra y mae y set arall yn canu'r don, fel yn ymarferiadau 38 hyd 41. Dylid addysgu yr ymarferiadau hyn yn gyntaf trwy roi cynllun o honynt oddiar y modulator, ac yna eu canu o'r llyfrau, yr athraw yn cadw yr amser trwy daro y bwrdd yn ysgafn. Os na chedwir y seiniau hir yr hyd priodol, rhaid eu canu ar yr enwau ar amser.

{ Defnyddir y **Cyplysnod** yn nechreu a diwedd llinellau i ddangos pa ranau o'r gerddoriaeth a ellir eu canu gyda'u gilydd.

**Barau Dwbl** ( ‖ ) a ddefnyddir i ddangos diwedd ton, neu ddiwedd yr hyn a elwir yn "adran" gerddorol, yn cyfateb yn gyffredin i linell mewn barddoniaeth. Pan y defnyddir y bar dwbl, mae y marc arferol am acen, y drom neu'r ysgafn, yn cael ei adael allan. Ond rhaid ei ddeall er hyny, a'i gadw.

**Cyfnewid Rhanau.**—Nid yw ymarferiadau y gris cyntaf na'r ail yn myned yn rhy uchel i leisiau isel, nac yn rhy isel i leisiau uchel. Gall pob math o leisiau ganu y rhanau uchaf ac isaf. Yn y ddau ris yma, gan hyny, mor fuan ag y mae ymarferiad yn cael ei ganu, ac heb aros dim, dylid ei ganu drosodd drachefn,—y rhai oedd yn canu y rhan uchaf i ganu y rhan isaf, ac i'r gwrthwyneb. Y mae yn amlwg fod yr ymarferiadau cyntaf hyn yn fwy cymhwys i leisiau o'r un natur, hyny ydyw, lleisiau meibion, neu ferched, neu blant i gyd. Ond os bydd y dosbarth yn un cymysg, gellir defnyddio yr ymarferiadau yn rhwydd, er na fyddant mor hyfryd. Gwell, yn yr amgylchiad hwn, ydyw gadael i'r lleisiau gael eu cymysgu yn y ddwy ran; ond er cael amrywiaeth gall yr athraw yn achlysurol roddi y rhanau uchaf i'r merched, a'r rhanau isaf i'r meibion.

**Anadl-fanau.**—Fe deimlir yn fuan fod cerddoriaeth yn ymranu i ddarnau neu *adranau* bychain. *Yn union cyn cychwyn ar adran*, mewn ystyr gerddorol, ydyw y lle goreu i gymeryd anadl. Buan y daw y dysgybl i ddewis anadl-fanau iddo ei hun; ond yn y gris hwn yr ydym wedi marcio yr anadl-fanau mwyaf cyfleus gyda bidog †. Nid ydys wedi marcio diwedd y llinellau, oblegid dylid cymeryd anadl *bob amser* yno. Mae y dysgybl sydd yn canu yn mlaen nes bo ei ascnau yn tynu at eu gilydd a'r ysgyfaint yn wag, *ac yna* yn cymeryd anadl, yn fflatio mewn sain, ac yn teimlo yn anhyfryd.

Ym. 38. cy. D.

| † | | | | † | | † | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| d :— | m :— | s :— | d' :— | d' :— | s :— | m :— | d :— | ‖ |
| d :d | d :d | d :d | d :d | d :d | d :d | d :d | d :d | ‖ |

Ym. 39. cy. D.

| † | | | | † | | † | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| d :d | m :m | s :s | d' :d' | d' :d' | s :s | m :m | d :— | ‖ |
| d :— | d :— | d :— | d :— | d :— | d :— | d :— | d :— | ‖ |

*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. 40. cy. F. † † †

d :— |s :— |m :— |d :— |s :— |s :— |d :— |— :— ‖
d :d |d :d |d :d |d :d |d :d |s :d |d :d |d :— ‖

d'

Ym. 41. cy. D. † † †

d :m |s :m |s :m |d' :— |d :s |m :s |s :m |d :— ‖
d :d |d :d |d :d |d :d |d :d |d :d |d :d |d :— ‖

SOH

Ym. 42. cy. D. *Yn gyflym.* †

d :m |m :s |s :d' |d' :— |d' :s |s :m |m :d |d :— ‖
d :— |— :— |m :— |— :— |m :— |— :— |d :— |— :— ‖

ME

Ym. 43. cy. B. † † †

d :— |s, :— |m :— |d :— |m :— |d :— |s, :— |d :— ‖
m, :m, |m, :m, |s, :s, |m, :— |d :s, |m, :d, |m, :s, |d, :— ‖

DOH

Ym. 44. cy. F. *Yn gyflym.* †

d :m |s :m |d :m |s :m |d :m |s :m |s :s |s :—
d :— |s, :— |d :— |m :— |d :— |s :— |m :— |— :—

s :m |d :m |s :m |d :m |s :m |d :m |d :d |d :— ‖
m :— |d :— |m :— |d :— |s, :— |— :— |d :— |— :— ‖

s,

Ym. 45. *Yn araf—a chyflym.*

1 (TA-E) :1 .1 (TATE) |1 (TA-E) :1 .1 (TATE) |1 .1 (TATE) :1 .1 (TATE) |1 (TA-E) :— (-A-E) ‖

cy. C. d :m.s |d' :s.m |s.m :s.m |d :— ‖ cy. G. d :s,.d |m :d.d |m.d :m.d |s :— ‖

cy. C. d' :s.m |d :m.s |d'.s :d'.s |m :— ‖ cy. G. d :s,.s, |d :s,.m |d.d :s,.m |d :— ‖

Ym. 46. *Yn araf—a chyflym.*

1 (TA-E) :1 (TA-E) |1 .1 (TATE) :1 (TA-E) |1 .1 (TATE) :1 .1 (TATE) |1 .1 (TATE) :1 (TA-E) ‖

d :m |s.m :d |s.m :s.m |s.m :d ‖ d' :s |m.s :d' |d'.s :m.s |m.s :d ‖
m :d |d.m :s |d.m :s.m |d.m :s ‖ d :s, |d.m :d |d.s, :d.s, |d.m :d ‖

*Cyf. Saf. (New.)*

**Tate-io Seiniau Ton.**—Y mae *Laio* ar un sain yn helpu i ffurfio y syniad *dansoddol (abstract)* priodol am fydr. Ond nid yw y syniad hwn byth yn cael ei sefydlu yn iawn hyd nes y bo'r glust yn gallu adnabod mydr fel *yr un*, er iddo *guddio* ei hun yn y gwahanol ffurfiau ar seiniau y rhai a ellir eu rhoi arno. I ddysgu y *dansoddol*, neu ansawdd peth, rhaid ei adnabod mewn *llawer* o bethau y mae yn gorfforedig ynddynt—rhaid cael y syniad dansoddol am y "crwn" yn yr olwyn, y lleuad, ceiniog, &c., &c.; y syniad am y "coch" yn y bluen goch, y *shawl*, y rhosyn, &c., &c. Pe na buasem wedi gweled dim yn grwn ond yr olwyn, ni fuasem yn meddu y syniad *dansoddol* am "grynder." Fel help i ffurfio y syniad cywir hwn am fydr, y mae yn dra defnyddiol i tate-io pob ymarferiad mewn amser mewn *gwahanol* seiniau cerddorol. Mae yr athraw yn laf yn troi un o frawddegau yr ymarferiadau mewn amser yn seiniau gwahanol, gan ei ganu ar Sol-ffa, a'i ddysgu trwy gynllun. 2il. Y mae yn rhoi cynllun o'r un frawddeg ar y modulator fel o'r blaen, ond yn *tate-io* fel y mae yn pwyntio, yn lle canu y sol-ffa. Mae'r dysgyblion yn efelychu. Mae yr enwau ar amser yn dangos iddynt fod y mydr yr un, tra mae y modulator yn dangos iddynt y gwahaniaeth seiniau. 3ydd. Y mae yn peri i'r dysgyblion ganu yr un peth o'r llyfr.

Ym. **47**. *Tate-er mewn seiniau* y tonau sydd o dan Ym. 45 a 56, a rhyw rai ereill a ddyfeisio'r athraw.

Dylai'r ymarferiadau canlynol (gan ddwyn i mewn y mesur tri-churiad, heb ranu'r curiadau, a *tate-io* yn y mesur dau guriad,) yn awr gael eu canu yn ol cynllun oddiar y modulator, eu *tate-io* o'r llyfr, eu *canu ar Sol-ffa* o'r llyfr, a'u *laio* o'r llyfr. Dysger pob rhan ar ei phen ei hun cyn i'r ddwy ran gael eu canu gyda'u gilydd.

Ym. **48**. CY. D. *Yn gyflym—ac araf.*

| d :d :d | m :— :— | m :m :m | s :— :— |
| d :— :d | d :— :— | d :— :d | m :— :— |

| s :s :s | d' :d' :d' | s :s :s | d :— :— |
| m :— :m | m :— :— | m :— :m | d :— :— |

Ym. **49**. CY. D. *Yn gyflym—ac araf.*

| d :m :s | d' :— :— | d' :s :m | d :— :— ‖
| d :— :d | m :— :— | m :— :d | d :— :— ‖

| m :s :d' | s :— :— | s :m :s | d :— :— ‖
| m :— :m | m :— :— | m :— :m | d :— :— ‖

Ym. **50**. CY. G. *Yn araf—a chyflym.*

:s, | d :— :d | m :d :m† | s :— :s | m :—
:s, | m, :— :s, | d :— :d | m :— :m | d :—

:d | s, :d :m | s, :d :m† | s, :— :s, | d :— ‖
:m, | m, :— :s, | m, :s, :d | m, :— :s, | m, :— ‖

*Cyf. Saf.* (*New.*)

d'
SOH
ME
DOH
s,

Ym. 51. CY. C. *Yn araf—a chyflym.*

| d :m | s :s † | d .m : s .d' | s :— | m :s | d' :d' | d'.s : d'.s | m :— ||
| d :d | m :m | d .d : m .s | m :— | d :m | m :m | m .m : m .m | d :— ||

Ym. 52. CY. G. *Yn araf—a chyflym.*

| :$s_1$ | d :m .d | $s_1$ †: d | m :d | s :m | d :s .d | m :d | s :$s_1$ | d ||
| :$s_1$ | $m_1$ :$m_1$.$m_1$ | $m_1$.$m_1$: $m_1$ | $s_1$ :d | $s_1$ :$s_1$ | $m_1$ :$m_1$.$s_1$ | d .d : d | $m_1$ :$s_1$ | $m_1$ ||

Ym. 53. CY. D. *Yn araf—a chyflym.*

| d .m : m | d .m : m † | s :s | m :— † | m .s : s | m .s : s † | d' :s | d' :— ||
| d :d | d :d | d .m : m | d :— | m :m | m :m | m .s : s | m :— ||

### Rhydd-ymarferiadau ar y Modulator.

Yn mhob gwers ymarferir y dysgyblion i ddilyn pwyntiad yr athraw ar y modulator, *heb gynllun.* Yr anhawsder yn hyn ydyw nas gall y pwyntydd ddangos aceniad; ond mewn achosion dyrys, trwy help yr enwau ar amser, gall yr athraw egluro unrhyw fydr a fyno. Mae y dysgyblion i ddysgu dilyn ar unwaith, ac i ffurfio yr arferiad o ddal y seiniau cyhyd ag y bydd y pwyntydd yn aros ar y nodyn. Mae symudiadau y pwyntydd yn haws eu canfod pan y mae yn symud o nodyn i nodyn gyda thro ar y naill du. Gall yr athraw ddyfeisio ei rydd-ymarferiadau neu eu cymeryd o lyfrau elfenol ereill. Ond ni ddylent byth gynwys anhawsderau mwy nag sydd yn perthyn i'r gris y bydd y dosbarth wedi ei gyrhaedd. Gwel yr "Awgrymiadau ar Rydd-ymarferiadau." Bydd yr ymarferiadau hyn yn baratöad i'r nesaf.

### Ymarferiadau i'r Glust.

Rhydd yr athraw i'w ddysgyblion yn awr frawddegau cerddorol bychain, y rhai a gân efe ar rifnodau, a gofyna iddynt ddyweyd wrtho ar ba rifnod neu rifnodau yr oedd **d** yn disgyn?—ar ba un y **m**?—ar ba un y **s**?—ar ba un y **d'**?—ar ba un y **$s_1$**? Rhydd iddynt hefyd gyweirnod a chord, gan ganu ar y sill rhydd-agored *ska*, naill ai d, m, s, d', neu $s_1$, a gofyna i'r dysgyblion ddyweyd wrtho *pa* sain a ganodd. Ni ddylai yr atebion i'r cwestiynau hyn ddyfod oddiwrth ychydig yn y dosbarth yn unig, ond fe gynllunia yr athraw, (trwy ranu y dosbarth, neu ryw ffordd arall) *fod i bob un deimlo y cyfrifoldeb* o feddwl a darparu atebiad, a bydd pob un yn teimlo dyddordeb. (Gwel "Awgrymiadau ar Ymarferiadau i'r Glust.") Y mae yn fantais fawr pan y gellir cael yr atebion i'r ymarferiadau hyn i'r glust mewn ysgrifen gan y dysgybl, ac wedi hyny eu chwilio a'u rhestru gan yr athraw neu ei gynorthwywyr.

### Pwyntio o'r Cof.

Yn niwedd pob gwers dylai y dysgyblion ymorchestu i ddangos i'w hathraw pa sawl un o'r ymarferiadau blaenorol y gallant eu pwyntio a'u canu ar y Sol-ffa o'u cof. Dylai yr ymarferiadau gael eu cofrestru yn mhlaid pob dysgybl. Dylid amaethu cof cerddorol o'r dechreu, oblegyd fe rwyddhâ lawer ar ffordd cynydd y dysgybl yn ei gamrau dyfodol, a bydd o wasanaeth parhaus iddo yn ei fywyd rhagllaw.

### Ysgrifenu yr Ymarferiadau.

Y ffordd oreu i ddysgu nodiant ydyw trwy ysgrifenu, ac y mae yr hyn a nodir yn cael ei ymarfer yn gyflymach a hawddach pan y mae y nodiant yn glir a chynefin i'r meddwl. Dyma sydd yn rhoddi gwerth mewn ysgrifenu yr ymarferiadau. Yn y gris cyntaf dylai yr athraw ofyn i'w

ddysgyblion dynu ar lechau neu bapyr bedwar (neu wyth, neu un-ar-bymtheg,) o fesurau dau guriad yn y ffurf gyntefig neu ail-raddol. Gall yr athraw wneyd yr un peth ar y bwrdd du, i *ddangos* i'r dysgyblion beth a feddylir. Ar ol i'r mesurau gael eu tynu allan yn iawn, bydd i'r athraw *ddyweyd allan* y nodau i gael eu hysgrifenu yn mhob curiad, neu fe'u hysgrifena ar y bwrdd du i'w ddysgyblion eu copio. Gall ysgrifenu nodau o'i ddyfais ei hunain, neu eu copio o lyfrau ereill, ond dylent bob amser fod yn perthyn i'r un "gris."

### Dyweyd Allan

Y mae darllen neu ddyweyd allan i ereill wedi bod bob amser yn anhawdd mor fuan ag y byddai yr *amser* yn dyfod yn ddyrys, ond y mae yr enwau ar amser yn rhoddi moddion i ni alw allan yn hawdd, *yn ol un curiad ar unwaith*, y "mydr," yr "aceniad," a'r "sain," gyda'u gilydd. Er engraifft, pe byddem yn galw allan Ym. 51, ni a ddywedem wrth y dysgyblion "mesur dau guriad ail-raddol." "Paratowch ar gyfer 8 mesur." "TA-E, $s_1$ isaf" "TRA-E, d" "TATE m d," &c., neu yn Ym. 53, "TRATE d.m" "TA-E, m," &c.

Ceir papur cerddorol y Tonic Sol-ffa yn dra manteisiol wrth ddyweyd allan. Trwy y moddion hwn gall dosbarth cyfan gael eu cynysgaeddu a chopïau o don, tra y byddant, wrth ei chopio, yn ymgydnabyddu â'r don, ac felly yn barod i'w chanu. Mae papyr cerddorol y Tonic Sol-ffa wedi ei linellu fel y gall y dysgybl gadw ei guriadau yr un hyd trwy yr holl don. Gall ganiatau un neu ddau adraniad i'r curiad. Yn y naill amgylchiad neu'r llall, ni fydd yn angenrheidiol iddo farcio gyda'r ysgrifell neu'r pwyntil ond yr aceniadau trymion.

### Ysgrifenu o'r Cof.

Dylai y dysgyblion ymarfer llawer ag ysgrifenu o'r cof. Er ei fod yn anhawdd i ddosbarth cyfan bwyntio ar y modulator o'r cof ar yr un amser fel ag i gael eu gweled gan yr athraw, nid ydyw yn anhawdd i osod dosbarth cyfan ar waith yr un amser, i ysgrifenu o'u cof, gyda'u llyfrau yn nghauad, y tonau y byddont wedi eu dysgu. Os bydd rhifnod gan bob dysgybl, ac os ysgrifena y rhifnod hwnw ar gongl dde ei bapyr, yn lle ei enw, gellir rhoddi ereill ar waith, i gynorthwyo yr athraw i gywiro yr ymarferiadau, ac i gadw cofrestr o bob curiad sydd wedi ei ysgrifenu yn gywir.

### Ymarferiadau Ychwanegol.

Mae yr athraw yn naturiol awyddus i weled fod holl aelodau ei ddosbarth (oddigerth y diog a'r diofal, y rhai nad oes ganddynt un hawl arno,) yn meistroli materion pob gris, cyn i'r cyfryw ris gael ei adael. Y mae rhai dosbarthiadau yn gofyn ymarferiad helaethach ar un mater, ac ereill ar un arall. I'r dyben hwn, ac hefyd i'r dyben o gasglu pob llygad i'r un pwynt yn ei egluriadau elfenol, cynghorir ef i wneyd defnydd da o'r Bwrdd du, neu y Bwrdd ar gynllun Mr. Miller, neu y "murleni," (*wall sheets*) Tonic Sol-ffa *Agency*. Gellir defnyddio mur-len Rhif 1 (i'r ymarferiadau a'r amser,) a Rhif 7 ac 8 (i'r seiniau) fel ymarferiadau ychwanegol yn y gris hwn.

---

## *CWESTIYNAU AR GYFER ARHOLIAD YSGRIFENEDIG NEU LAFAR.*

### ATHRAWIAETH.

1 I ba dri ymarferiad y dylai y dysgybl dalu sylw dyddiol er cynyrchu sain *pur* a *hyfryd*?

2 Pa ddau arferiad sydd yn gwella *purdeb* sain?

3 Pa ddau arferiad sydd yn gwella natur neu *ansawdd* sain?

4 Pa rai ydynt y llafariaid sydd yn taflu y llais *yn mlaen*?

5 Pa dri pheth sydd yn cael eu hyrwyddo trwy driniaeth priodol yr anadl?

*Cyf. Saf.* (*New.*)

6 Pa gamdriniaeth ar yr anadl sydd yn peri i'r graddeg ffiatio?

7 Pa effaith sydd yn cael ei gynyrchu ar sain drwy ddefnyddio gormod o anadl?

8 Pa le y dylai y dechreuwr gymeryd anadl yn rheolaidd?

9 Pa le na ddylem gymeryd anadl?

10 Trwy weithrediad pa set o gyhyrau y dylai yr anadl gael ei dreulio allan?

11 Beth yw y ddau reswm dros ganu yr ymarferiadau lleisiol cyntaf yn wan?

12 Desgrifiwch yr ystum goreu ar y corff wrth ganu—y pen—yr ysgwyddau—y fron—y genau—y gwefusau—yr ên isaf—taflod y genau—y tafod.

13 Desgrifiwch effeithiau niweidiol ystumiau anmhriodol ar y genau neu'r corff.

14 Beth ydym yn ei olygu wrth raddeg seiniau?

15 Beth ydyw eich syniad chwi am gyweirsain neu gyweirnod?
16 Paham y mae o bwys i wrando yn dda ar y cynllun a rydd yr athraw?
17 Beth ydyw yr enw ar y cyweirsain mewn tôn, a beth yw yr arwydd am dano â'r llaw?
18 Beth ydyw yr enwau a'r arwyddion am y sain a elwir yn gyffredin yn bumed y cyweirsain, a'r un a elwir yn drydydd uwchlaw iddo?
19 Oddiwrth ba ddau achos y cyfyd effeithiau gwahanol y seiniau perthynasol *Doh*, *Me*, a *Soh*, ar y meddwl?
20 Beth ydyw yr enw a roddir ar set o dri o seiniau yn dal y berthynas hon?
21 Beth ydyw wythawd neu sain atebiadol, a'i arwydd?
22 Gallwn ddywedyd wrth y dysgyblion pa seiniau o'r raddfa i'w canu, naill ai trwy bwyntio ar y modulator, neu trwy roddi arwyddion iddynt a'r llaw. Pa ffordd arall sydd genym o wneyd hyn?
23 Beth mae "Cyweirnod G," "Cyweirnod C," "Cyweirnod A," yn arwyddo yn nechreu tôn.
24 Beth yw y tri defnydd cyffredin o'r gair "Amser," a pha enw arbenig a roddir i'r tri?
25 Pa fodd y cynyrchir "Aceniad?"
26 Beth ydyw yr arwydd am aceniad cryf ac am aceniad gwan?
27 Beth ydyw yr enw a roddir am yr amser o un aceniad (o unrhyw fath) i'r llall?
28 Beth ydyw yr enw ar amser sain o un curiad, a pha fodd yr ydych yn ei newid pan y mae yn meddu yr acen drom?
29 Yn mha amgylchiadau y gall curiadau fod yn hwy mewn parhad y naill na'r llall?
30 Yn mha amgylchiadau y mae curiadau yr un o ran parhad y naill a'r llall.
31 Beth ydyw trefn yr aceniadau yn ffurf cyntefig y mesur dau guriad? Beth yn y ffurf ail-raddol?
32 Beth ydyw trefn yr aceniadau yn ffurf cyntefig y mesur tri churiad? Beth yn y ffurf ail-raddol?
33 Rhoddwch yr enwau ar amser mesur dau guriad yn y ffurf gyntefig, ac ar y mesur tri churiad yn y ffurf ail-raddol.
34 Pa fodd yr ydych yn nodi sain dau guriadol, a pha fodd yr ydys yn ei enwi?
35 Pa fodd yr ydych yn nodi ac yn enwi sain tri churiadol?
36 Paham y mae o bwys, wrth gyfranu addysg elfenol, i arfer enwau gwahanol ar barhad seiniau?
37 Pa egwyddorion mewn addysgiant sydd yn hynodi grisiau cyntaf unrhyw gelfyddyd?
38 Pa mor hir y dylai y dysgyblion fynychu yr ymarferiadau cyntaf ar amser?
39 Beth ydyw y peth anhawdd y mae y dysgybl i'w *ddal i fyny* yn yr ymarferiadau ar amser?
40 Paham na ddylai y dysgyblion ar y dechreu *guro* amser?
41 Pa fodd y mae y sillau solfayddol yn dyfod yn help i gofio y seiniau, a'r sillau am amser yn help i gofio yr amser?
42 Pa ddefnydd sydd mewn canu ar y sill La?
43 Beth ydyw amcan cyplysnod?
44 Beth ydyw amcan bar dwbl?
45 Pa leoedd ydynt y goreu i gymeryd anadl pan na ystyrir ond y gerddoriaeth?
46 Beth ydyw yr arwydd am guriad wedi ei gyfartal ranu yn ddwy ran? Beth ydyw yr enw ar amser y cyfryw?
47 Beth a olygir wrth tate-io?
48 Beth a olygir wrth tate-io ar seiniau?
49 Pa fodd y mae yr ymarferiad o tate-io yn helpu y meddwl i unigoli, neu i ffurfio syniad penodol am, fydr?
50 Mewn rhydd-ymarferiadau ar y modulator, pa ddau arferiad y dylai y dysgybl eu ffurfio?
51 Pa anhawsderau na ddylid eu cymeryd i mewn yn y rhydd-ymarferiadau?
52 Desgrifier y ddau ffurf y gellir cyflwyno ymarferiadau i'r glust?
53 Paham y dylid amaethu cof cerddorol?
54 Pa un ydyw y ffordd oreu i ddysgu nodiant.
55 Pa fantais y mae y canwr yn ei gael oddiwrth yr ymarferiad o ysgrifenu cerddoriaeth?
56 Pa fodd y darllenech chwi allan briflais pedwar mesur cyntaf Ym. 53.

---

## YMARFERIAD

57 Dalier sain *sefydlog*, heb gymeryd anadl, am bum eiliad.
58 Caner unrhyw ddau o'r ymarferiadau 38 hyd 44, a 48 hyd 53, a ddewiser gan yr athraw, ar y sill *La*, yn gywir, *heb fod anadledd yn y sain.*
59 Caner ar y sill *La* y *Soh* i unrhyw *Doh* a rydd yr athraw.
60 Caner yr un modd y $Soh_1$ isaf.
61 Caner yn yr un modd y $Doh^1$ uchaf.
62 Caner yr un modd y *Me*.
63 Caner yr un modd y $Me_1$ isaf.
64 Tate-er y "rhan" uchaf yn unrhyw un o'r Ymarferiadau 51, 52, neu 53, a ddewiso yr athraw.
65 Tate-er mewn seiniau un o Ymarferiadau 51, 52, neu 53, ond nid yr un ag yn y gofyniad diweddaf, fel y dewiso yr athraw.
66 Pwyntier ar y modulator o'r cof unrhyw un o Ym. 46 hyd 51, a ddewiso yr athraw.
67 Ysgrifener o'r cof un arall o'r ymarferiadau hyn.
68 Pan gano eich athraw unrhyw frawddeg ar rifnodau (yn perthyn i'r gris yma), dywedwch wrtho neu ysgrifenwch i lawr ar ba rifnod yr oedd *Me* yn cael ei ganu.
69 Eto *Soh*.
70 Eto *Doh*.
71 Eto $Doh^1$.
72 Eto $Soh_1$.
73 Ar ol clywed y cord, dyweder neu ysgrifener i lawr ar ba sain o'r raddfa y canwyd *sca*. Gwneler hyn gyda dwy sain wahanol.
74 Dilyner yr athraw yn pwyntio ar y modulator mewn rhydd-ymarferiad newydd, yn cynwys ***Doh*, *Me*, *Soh*, $Doh^1$**, a $Soh_1$. TA-E, TA-E-A-E, a hefyd TATE.
75 Ysgrifener i lawr oddiwrth ddarlleniad allan, ac wedi hyny caner ymarferiad cyffelyb.

# YR AIL RIS.

***I feithrin y llais mewn purdeb, prydferthwch, a chydgordiad. I wahaniaethu effaith feddyliol* d, m, s, t, *a* r. *I'w cynyrchu. Gwahaniaethu a chynyrchu yr acen gymedrol, a'r mesurau pedwar a chwe churiad, hefyd distawrwydd curiad cyfan, y seiniau haner-curiadol yn mesur tri churiad, a'r bedwaredd o guriadau yn eu ffurf symlaf. I sylwi ar y rhesymau dros anadl-fanau. I ddechreu efrydu cordiau cyfryngau, anghydseiniaid, a phas-donau.***

### Meithriniad y Llais.

Mae yr athraw yn galw ei ddysgyblion i'r ystum iawn, fel ag y gwnaeth yn nechreu pob gwers yn y gris cyntaf. Dylid agor pob gwers yn y gris hwn gyda'r tri ymarferiad canlynol. Y mae o'r pwys mwyaf fod i'r dysgyblion *wneyd arferiad drostynt eu hunain* o fod mewn ystum dda wrth ganu. Trwy hyny daw yn beth hawdd.

Ym. 54. Ymarferiad y Ddwyfron (neu y Frest), i gryfhau cyhyrau dan ac ar ochrau yr ysgyfaint, ac i roddi gallu iddynt i ollwng allan yr anadl yn araf. Yr un modd ag yn Ym. 1, ond fod yr anadl i gael ei ollwng allan yn fwy araf, a bod sain yn cydfyned ag ef. Bydd rhai yn awr yn alluog i barhau y sain tra bydd yr athraw yn araf-gyfrif deg, dyweder am ddeg eiliad. Ni ddylai y gwan ei ddwyfron ddigaloni. Bydd myned trwy yr ymarferiad hwn yn feunyddiol yn fywyd ac yn iechyd iddynt.

Ym. 55. Ymarferiad i gael llais pur a chlir. Yr un fath ag yn Ym. 2, ond yn lle defnyddio un sain yn unig, fod y dysgyblion i ganu cord y Tonydd. Canant, mewn ufudddod i'r llaw-arwydd gan yr athraw, **d m s d' d' s m d.** Mae y llaw-arwyddion hyn yn galluogi yr athaw i sylwi ar ystumiau y dysgyblion, a'r dysgyblion i sylwi ar awgrymiadau yr athraw. Cenir yr ymarferiad hwn yn araf (M. 60 dyweder), a hefyd yn *dyner* er mwyn astudio prydferthwch yn ansawdd y sain. Pan y mae yr athraw mewn unrhyw ymarferiad yn teimlo ei fod wedi sicrhau yr ansawdd da yma ar y llais, y mae yn achlysurol yn anturio canu gyda nerth *canol* y llais, ond y mae bob amser yn ymdrechu cadw yr un ansawdd da ar y llais. Mewn dosbarthiadau cymysg o feibion a merched, cenir yr ymarferiad hwn, wrth gwrs, mewn wythfedau, gan fod lleisiau meibion a merched yn naturiol yn wythawd oddiwrth eu gilydd. Mae pwysigrwydd yr ymarferiad syml hwn, a'r anhawsder i gael yr holl leisiau yn unsain pur a pherffaith yn cael ei gymhell yn gryf gan Fetis (gwel "*Choir and Chorus Singing,*" tu dal. 9).

Mae yr ymarferiad, yn 1af, yn cael ei sol-ffeio *unwaith*, yn 2il, ei ganu *unwaith* ar y sill blaenol *lê*, yn 3ydd, ei ganu *dair* gwaith ar y sill hyfryd *la*, ac yn 4ydd, cenir ef unwaith ar y sill goreu i ollwng allan seiniau yn glir ac aceniadol, sef *cw*, gan daro *cw* bedair gwaith i bob sain. Mae y cam cyntaf yn y gorchwyl hwn, yn gosod y glust mewn cywair iawn: mae yr ail yn gosod y tafod yn ei le, ac felly yn paratoi y genau i seinio, y gwir *a*: mae y trydydd yn gosod y genau yn y ffurf oreu i wneyd sain brydferth: ac y mae'r pedwerydd yn cryfhau y llais, trwy weithrediad egniol, (ond nid *gorfodol*,) ac yn ffafrio yr ysgogiad hwnw ar y *larynx* tuag i lawr, wrth wneyd seiniau byr ac acenedig (er nad rhai uchel,) yr hwn a ddylai gael ei ffurfio yn arferiad i'w ddefnyddio ar ol hyn. Ar ol canu yr ymarferiad fel hyn *chwe* gwaith yn Nghyweirnod C, gwneir yr un peth yn Nghyweirnod D.

**Ymarferiadau mewn Seiniau.** Gellir ychwanegu y rhai hyn yn awr, er mwyn dysgu y lleisiau sydd yn canu y gwahanol ranau, i *astudio y naill y llall*, ac i gordio yn dda â'u gilydd. I ryw raddau fe wneir hyn yn mhob ymarferiad, ond y mae hefyd yn gofyn efrydiaeth ar wahan. Mae yr athraw yn rhanu lleisiau y merched a'r plant i dair rhan (1af, 2il, a 3ydd) ac yn peri iddynt sol-ffeio, ac wedi hyny i *lêio* a *lâio* yr ymarferiad canlynol. Ar ol i hyn gael ei wneyd i foddlonrwydd yr athraw, y mae yn dyweyd y gair "newid," ac y mae y rhai sydd yn canu y rhan gyntaf, yn cymeryd yr ail, a'r ail y drydedd, a'r drydedd y gyntaf. Ar y gair "newid" mae yr un peth yn cael ei fynychu. Mae yr athraw wedi hyny, yn rhanu lleisiau y dynion yn yr un modd, ac yn eu cario hwy trwy yr un ymarferiad chwe-phlyg. Mae yr athraw yn yr ymarferiad hwn yn gwylied ei ddysgyblion—*yn gyntaf* i sicrhau eu bod yn dal eu llyfrau yn iawn, nid yn gwasgu ar y fron, mor uchel ag y gellir (yn unig fel y galler gweled yr arweinydd drostynt) a heb blygu y pen—yn *ail* i sicrhau sain glir, *ysgafn*, unffurf, gan wneyd amnaid ar y neb y byddo ei lais yn sefyll allan oddiwrth y lleill—ac yn *drydydd*, i gael perffaith *gydseiniad* rhwng holl ranau y cord. Y mae dyfodiad clir pob rhan i mewn wedi ei fwriadu er cynorthwyo i ganfod gwir seiniadaeth. Gwel Fetis tu dal. 9. Nid pob dosbarth sydd yn meddu

y meddylgarwch a'r gwroldeb i gymeryd yr ymarferiad hwn *yn nechreu* yr ail ris, ond dylid gwneyd ymgais at hyn. Y mae rhaniad y lleisiau yn brawf caled ar annibyniaeth, ac o ganlyniad yn ddefnyddiol. Mae rhai canwyr na fyddant byth yn annibynol nes y gorfodwch hwynt i wneyd ymgais. Bydd cordiad y lleisiau am beth amser yn gras ac amherffaith, ond bydd canu tyner, a gwrandaw, yn gwella y bai.

Ym. 56. CYWEIRNODAU **F** a **G**. [Curiad distaw, gwel tu dal. 18.]

| | | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| 1af. | : | : | s :— | m :— | s :— | — :— | m :s | s :— | ‖ |
| 2il. | : | m :— | m :m | d :— | : | m :— | d :s | m :— | ‖ |
| 3ydd. | d :— | — :— | d :d | d :— | : | : | d :$s_1$ | d :— | ‖ |

SEINIADAETH.

**Effeithiau Meddyliol.**—Nid ydyw ond o ychydig bwys *pa* enwau a rydd y dysgybl ar effaith feddyliol y gwhanol seiniau, ond y mae o bwys mawr ei fod ef ei hunan (ac nid ei athraw na'i gyd-ddysgyblion) yn rhoddi yr enwau, neu os na all gael enw, ei fod yn ffurfio iddo ei hun syniad *penodol* am bob effaith feddyliol. Bydded iddo wrando yn ofalus, gan hyny, tra bydd ei athraw yn canu i'r dosbarth y cyfryw "ymarferiadau i gael allan effeithiau meddyliol" a'r rhai canlynol. (*a*) Mae yr athraw yn gyntaf yn canu yr ymarferiad ar rifnodau dilynol, gan hyspysu y dysgyblion ei fod yn bwriadu dwyn sain newydd i mewn (hyny yw, *nid* **d m** na **s**) a gofyna iddynt ddyweyd wrtho ar ba rifnod y disgyna. (*b*) Wedi iddynt adnabod y sain newydd, y mae yn canu yr ymarferiad drachefn—ar *la*—a gofyna pa fodd y mae y sain newydd yn "peri iddynt deimlo." Y rhai hyny a allant *ddesgrifio* y teimlad i godi eu dwylaw, ac y mae yr athraw yn gofyn i un o honynt am y desgrifiad. Ond gall y lleill, y rhai na foddlonir hwynt â geiriau ganfod a theimlo. Gall yr athraw weled wrth eu llygaid a fyddant felly. Y mae yn lluosogi engreifftiau (fel y rhai hyny yn yr "Efrydiaethau," &c., y rhai y gall eu pwyntio ar y *modulator*) hyd nes y byddo sylw yr *holl* dosbarth wedi ei ddeffro i effaith y sain newydd. (*c*) Ar ol gwneyd hyn y mae yn dyweyd wrth ei ddysgyblion beth yw enw Sol-ffayddol a'r llaw-arwydd, am y sain newydd, ac y mae yn eu harwain trwy yr arwyddion i Sol-ffeio yr ymarferiad ac i gynyrchu yr effaith briodol eu hunain. Mae yr arwyddion yn well, yn yr amgylchiad hwn, na'r *modulator*, ac na'r nodiant, oblegid trwyddynt gall yr athraw *fynu sylw* pob llygad, clust, a llais, a phan elwir sylw gyntaf at sain newydd, dylid gwrando gyda'r astudrwydd mwyaf.

Y llaw-arwydd am *ray* ydyw y llaw wedi ei throi tuag i fyny, yn agored, ac yn dangos y cledr; am *te*, y llaw wedi ei throi i fyny, gan bwyntio â'r bys blaen.

Ym. 57. CY. **B♭**. Effaith *Ray*, graddeg uchel.

| d :$s_1$ | m :d | r :— | d :— ‖

Ym. 58. CY. **B♭**. Yr un.

:$s_1$ | d :— :m | r :— :$s_1$ | d :— ‖

Ym. 59. CY. **F**. Effaith *Ray*, graddeg isel.

:$s_1$ | d :m :d | r :— :m | d :— ‖

Ym. 60. CY. **D**. Yr un.

| d :s | m :d | r :— | m :— ‖

Ym. 61. CY. **D**. Effaith *Te*, graddeg uchel.

| d :m | s :t | t :— | d' :— ‖

Ym. 62. CY. **D**. Yr un.

| d :m | s :t | t :s | d :— ‖

Ym. 63. CY. **F**. Effaith *Te*, graddeg isel.

| d :s | m :$t_1$ | $t_1$ :— | d :— ‖

Ym. 64. CY. **F**. Yr un.

:$s_1$ | d :m | s :— | $t_1$ :— | d ‖

**Cyd-ddarllen.** Dysgir yr ymarferiadau canlynol yn awr o 65 i 70 (yn cynwys neidiadau i **r** a **t** heb unrhyw anhawsderau newydd mewn amser) yn yr un modd, a thrwy fyned trwy yr un gwaith, ag Ym. 48 hyd 53, gyda hyn o ychwanegiad, ar ol i'r dôn gael ei *lâio* yn gywir a hawdd fod y *geiriau* i gael eu hastudio. Mae yr athraw yn darllen y geriau *o un lle anadliad i'r llall*, gan swnio y llafariaid yn glir a'r cydseiniaid yn galed, ac y mae y dysgyblion yn efelychu gyda'u gilydd. Mae y llafariaid yn ffyrdd i ollwng allan yr anadl; a'r cydseiniaid yn ffyrdd i'w atal. Mae y naill a'r llall yn gofyn am ystumiau ac ysgogiadau pendant ar y wefus a'r tafod. Y mae llawer o

bersonau diddysg yn ddiog yn nefnyddiad y peirianau hyn. Amcan yr athraw fydd dangos *trwy gynllun* (neu trwy wneyd hyny ei hun yn gyntaf), y siarad clir a phendant hwnw, yr hyn ydyw prydferthwch ymadrodd. Nis gellir parhau seiniau cerddorol ar y cydseiniaid; y llafariaid gan hyny ydynt y mwyaf pwysig i'r canwr. Nid rhaid i'r dosbarth aros i astudio egwyddorion areithyddol "aceniad" a "graddiad" y llais, oblegid nid oes dim codi a gostwng ar y llais mewn sain gerddorol, ac y mae y gerddoriaeth o angenrheidrwydd yn penderfynu yr aceniad. Bydd dyweyd y llafariaid a'r cydseiniaid ar unsain syml yn ddigon i'r athraw ar hyn o bryd. Bydd yr ymarferiad hwn yn ddyddorol, i'r graddau ag y bydd yr athraw yn beirniadu gwaith y dosbarth yn swnio y geiriau yn ofalus. Bydd efrydiaeth manylach ar y pwnc hwn yn canlyn yn y pedwerydd gris.

**Anadl-leoedd.**—Yr ydys hyd yma wedi dewis lleoedd i anadlu yn ol rhaniad naturiol llinell o gerddoriaeth i "adranau." Ond y mae ystyr y geiriau yn fwy pwysig na'r adraniad cerddorol. Y mae gan hyny yn goruwchreoli y cyfan. Sylwed y dysgybl ein bod yn Ym. 65, yn cymeryd anadl o flaen pob cri "Tan." Yr ydym trwy hyn yn anadlu "er mwyn y pwyslais," ac y mae yn egluro rheol bwysig gyda golwg ar gymeryd anadl. Yn Ym. 67 bydded iddo sylwi y buasai y brawddegiad cerddorol yn gosod yr anadlu rhwng y gair "yw" a "clywed," ond nid yw y geiriau yn caniatau i ni wahanu rhanau o eiriau, neu eiriau fyddont yn agos gysylltiol â'u gilydd. Ni fuasai "Hyfryd iawn yw" yn swnio yn dda, o ganlyniad fe renir y geiriau, "Hyfryd iawn" † "yw clywed cloch." Yr ydym wrth hyn yn cymeryd "anadl yn ol y synwyr." Yn Ym. 69 mae yr adranau cerddorol yn rhanu yn naturiol rhwng y m a'r r, gan fod pob un yn ddau fesur o hyd. Nid yw y lle hwn yn lle cyfaddas i anadlu yn llinellau cyntaf yr un o'r penillion. Yn y drydedd linell y mae y rhaniad cerddorol yn ffitio yr ail benill, ond yn y lleill byddai rhaid canu "Pa un a ffyn- † a hwn neu'r llall," "Yn maethu ac † aeddfedu'r grawn," &c. Mae yr arferiad o gyd ddarllen y geiriau, gan gymeryd anadl yn y lle priodol, o fudd mawr wrth alw sylw at y pwnc pwysig hwn. Yn mhob ymarferiad yn y gris hwn, dylai fod, gyda'r cyd-ddarllen, rydd-ymddyddan ar gywirdeb neu fanau amheus yr anadl-leoedd sydd yn cael eu marcio—ond y mae yr athraw i benderfynu i'w holl ddosbarth, fel ag y byddo pawb yn cyd-anadlu fel hyn.

**Ton Gron.**—Ym. 65 sydd don gron i bedair llais. Mae y "rhan" neu y llais cyntaf yn dechreu y don ei hun, ac yn myned drosti yn olynol nes cael ei stopio. Pan y mae y "rhan" gyntaf yn myned i daro y nod o dan y seren (*) mae yr ail "ran" yn taro nodyn cyntaf y don, ac felly yn mlaen. Mae y drydedd "ran" i ddilyn yr ail, fel y dilynodd yr ail y gyntaf. Mae yr athraw i daro ei ddwylaw ynghyd i awgrymu pa bryd yr ydys i aros. Dylid dysgu y don yn gyntaf oddiwrth y *Modulator*, gan yr holl ddosbarth, fel un rhan, ac ni ddylid ei chanu fel ton gron hyd y trydydd gris, os na fydd y dosbarth wedi arfer yn dda i ddal i fyny y radd briodol o ysgogiad. Pan fydd yr holl ddosbarth yn gallu ei sol-ffeio, gan sylwi ar guriad yr athraw, ac yn cadw amser yn fanwl gyda'i law,—yna rhaner y dosbarth yn bedair rhan neu lais, a phrofer pob rhan yn ei gallu i ganu ar wahan. Hyd yn nod ar ol dysgu gwneyd hyn yn dda, fe deimla y rhanau yn anhawdd i ddal eu rhan i fyny mor fuan ag y daw y rhanau ereill i mewn. Mae yr anhawsder i gadw y cyflymder priodol ar yr ysgogiad i fynu yn llawer iawn mwy pan y mae y don gron yn y mesur tri churiad, neu yn cynwys rhaniadau yn y curiadau. Yr anhawsder hwn sydd yn gwneyd y don gron mor ddefnyddiol fel ymarferiad mewn cadw amser.

Ystyr *Da Capo* neu D.C. ydyw "dychweler i'r dechreu."

m' r' d' t . s . m r d $t_1$ . $s_1$

**Ym. 65.** cy. G. Ton gron bedwar llais.

| $s_1$ :$s_1$ | d :d † | $s_1$ :$s_1$ | d :d † | *> r :— | m :— † | > r :— | m :— † |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Din - as | Llun-dain | sydd yn | llos- gi, | Gwae | ni, | Gwae | ni, |

| > s :— † | > s :— † | > s :— † | > s :— † | $t_1$ :r | d :d † | $t_1$ :r | d :d D.C. ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Tân! | Tân! | Tân! | Tân! | Dowch ty- | wellt-wch | ddwr i'w | diff-odd. |

*Cyf. Saf.* (*New.*)

Ym. 66. CY. D. Ton gron i bedwar llais.

| d :r | m :d | m :s | s :— | d' .d' :t .t |
|---|---|---|---|---|
| Dowch i | gan - u | o un - | fryd, | Peid-wch byth a |

| d' .s :m .d | s :s | d :— | D.C. |
|---|---|---|---|
| gor-phwys nes ei | ddys - gu'i | gyd. | ‖ |

Ym. 67. CY. C. Ton gron i bedwar llais.

| d :s | s :s | m :s | d' :— | d' :r' | m'.d':d' | s :t | d' :— D.C. ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Hyf - ryd | iawn yw | clyw-ed | cloch | Fawr yn | seinio, yn | glir a | chroch. |

## RHAID YW TERFYNU'R GAN.

Ym. 68. CY. E. Ton gron i bedwar llais. *J. C.*

| d' :d' .d' | t :t | d' :— | — :— | s :s .s |
|---|---|---|---|---|
| Rhaïd yw ter- | fyn - u'r | gân, | | Dowch dywedwn |

| s :s | s :s | m :— | ‖ m :m .m | r :r |
|---|---|---|---|---|
| bell - ach | oll nos | dawch. | Mel - us fo'ch | hun i |

| m :m | d :— | d :d .d | $s_1$ :$s_1$ | d :— | — :— D.C. ‖ |
|---|---|---|---|---|---|
| gyd, nos | dawch, | Nos dawch i | gyd, nos | dawch ! | |

## Y BOREU GWASGAR HAD.

A. L. C.

Ym. 69. CY. G. Y geiriau gan E. R., Efelychiad.

| :d | m :m | m :r | d :— | — :$t_1$ | r :m |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. Y | bor - eu † | gwas - gar | had, | Nac | at - al † |
| 2. Paid | dis - gwyl † | am dir | da. | Fan | ym - a † |
| :d | d :d | $s_1$ :$s_1$ | $m_1$ :— | — :$s_1$ | $t_1$ :d |
| 3. Nid | of - er † | fydd dy | waith, | Mae | tyw - ydd † |
| 4. Med - | el wyr † | ddont i | lawr, | I'w | gasgl - u † |

| r :d | $t_1$ :— | — :$s_1$ | d :d | $t_1$ :d |
|---|---|---|---|---|
| yn yr | hwyr; | Pa | un a | ffyn - a † |
| neu fan | draw; | Ar | fryn a | dôl † yn |
| $s_1$ :$m_1$ | $s_1$ :— | — :$s_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $s_1$ :$m_1$ |
| sych a | gwlaw; | Yn | maeth - u † | ac aedd - |
| ddiw - edd | byd; | A | chlyw - ir | ban - llef † |

*Cyf. Saf. (New.)*

| r :m | r :s | s :m | r :r | d :— | — |
|---|---|---|---|---|---|
| hwn neu'r | llall, 'Does | neb ond | Duw† a | wyr. | |
| glyt - iau | mae Na | fydd yn | brin† dy | law. | |
| $s_1$ :d | $t_1$ :$s^1$ | m :d | d :$t_1$ | d :— | — |
| fed - u'r | grawn, I'r | crym - an | †ddydd a | ddaw. | |
| yn y | nef, "Fe | gaed y | grawn† i | gyd." | |

Ym. 70. CY. B. **NA DDIGALONA.** *R. P.*

Y geiriau gan E. R. (Efelychiad.)

| $s_1$ :m :$s_1$ | d :$t_1$ :d | m :r :d | d :— :— | $t_1$ :— :r |
|---|---|---|---|---|
| Na ddi - gal - | on - a† er | gar - wed† yr | an - | ial, Fe |
| $m_1$ :$d_1$ :$m_1$ | $m^1$ :$r_1$ :$m_1$ | $d_1$ :$r_1$ :$m_1$ | $s_1$ :— :— | $s_1$ :— :$t_1$ |

| m :d :m | r :$t_1$ :r | d :m :r | d :— :— | d :— :— |
|---|---|---|---|---|
| all mai y - | for - u† daw | help† i dy | gyn - - | al. |
| d :d :d | $t_1$ :$t_1$ :$t_1$ | d :$s_1$ :s | $s_1$ :— :— | d :— :— |

Paid a'th rwgnachrwydd—† os ydyw'r cymylau
Yn dduon uwch ben,† mae yr haul yn rhoi goleu;
Er fod dy ofid† o'th gylch† fel mynyddau,
Efallai yr egyr† dy ffordd† yn y boreu.

### AMSER.

**Yr Acen Gymhedrol neu Ganol.**—Hawdd fydd dwyn y dysgyblion, trwy esiamplau ac egluriadau, i sylwi fod nid yn unig acen drom ac ysgafn, ond fod hefyd acen ganol neu gymhedrol mewn llawer o donau. Mae yr acen gymhedrol yn gwneud dau fesur dau guriad yn fesur pedwar curiad, a dau fesur tri churiad yn fesur chwe churiad. Defnyddir yr arwyddnod | am yr acen gymhedrol; a phan yn dyweyd allan i ereill ysgrifenu, neu mewn addysgiant elfenol, y dymunwn ddynodi yr acen yma yn yr enwau ar amser, yr ydym yn dodi i mewn y llythyren *l*, fel hyn, TLA-E neu TLATE.

Fe ganfyddir fod lluaws o'r ymarferiadau a ganwyd eisoes yn gofyn, pan na chenir hwynt yn araf, yr acen gymhedrol yma yn lle bob yn ail acen drom. Bydded i'r dysgyblion dreio Ym. 65 a 69, gan eu canu yn gyflym ac ysgafn. Canfyddant yn fuan yr angen am acen gymhedrol. Ni ddylai yr athraw ddysgwyl gormod o fanylder yn y dechreu. Mae y pethau manylaf mewn amser a sain yn gofyn llawer iawn o ymarferiad.

**Y Mesur Pedwar Curiad.**—Pan y mae aceniadau ton wedi eu trefnu fel hyn, **cryf**, *gwan*, CYMHEDROL, *gwan*, (megys yn y geiriau Seisnig, "mo*men*TA*ry*," "plan*e*TA*ry*,") ac felly yn y blaen, dywedir ei bod yn y mesur pedwar curiad. Mae y dysgybl i tate-io ar un sain fel y mae isod, tra bydd yr athraw yn curo, yn gyntaf yn araf, ac wedi hyny yn gyflym.

Mesur pedwar curiad prif raddol.

| 1 :1 | 1 :1 |
|---|---|
| TRA-E TA-E | TLA-E TA-E |

Y ffurf eil-raddol gyffredin.

| :1 | 1 :1 | 1 |
|---|---|---|
| TA-E | TRA-E TA-E | TLA-E |

NODIAD.—Wedi i'r dysgybl ddysgu dal ei nodau i'w hyd priodol, a lle y mae yr holl guriadau yn mron heb eu rhanu, bydd yn ddigon i alw curiad yn TA, gan adael allan yr E.

Ffurf eil-raddol arall.

| :1 | 1 :1 | 1 ||
TA-E TLA-E TAE TRA-E

Ffurf eil-raddol arall.

| 1 :1 | 1 :1 ||
TLA-E TA-E TRA-E TA-E

**Y Mesur Chwe Churiad.**—Pan y mae aceniadau ton yn cael eu trefnu fel hyn, **cryf**, *gwan*, *gwan*, CYMHEDROL, *gwan*, *gwan*, (fel yn y geiriau Seisnig, spir*itu*AL*ity*, im*muta*BIL*ity*,)ac felly yn mlaen, dywedir ei bod yn y mesur chwe churiad. Mae y dysgyblion i tate-io ar un sain fel isod, tra bydd yr athraw yn curo yn araf, ac wedi hyny yn gyflym.

Mesur chwe churiad prif raddol.

| 1 :1 :1 | 1 :1 :1 ||
TRA-E TA-E TA-E TRA-E TA-E TA-E

Y ffurf eil-raddol gyffredin.

| :1 | 1 :1 :1 | 1 :1 ||
TA-E TRA-E TA-E TA-E TLA-E TA-E

Ffurf eil-raddol arall.

| :1 | 1 :1 :1 | 1 :1 ||
TA-E TLA-E TA-E TA-E TRA-E TA-E

Ffurf eil-raddol arall.

| 1 :1 :1 | 1 :1 :1 ||
TLA-E TA-E TA-E TRA-E TA-E TA-E

**Curiad Distaw.**—Y mae yn fwy anhawdd i'r dysgybl deimlo amser distaw na phan yn gwneyd seiniau. O ganlyniad ni ddygwyd i mewn y curiad distaw yn y gris cyntaf. Yr enw am y curiad distaw ydyw *SHA-E*. Wrth tate-io, ar ol myned trwy ymarferiad am y waith gyntaf, neu mor fuan ag y dysgir y mydr yn berffaith, dylai y sillau am y curiadau distaw gael eu clywed lai lai. Nid yw M. Paris yn defnyddio ond y gair "Ust" am yr holl guriadau distaw. Wrth ddarllen allan, a hefyd er mwyn eu marcio a'u mesur yn eglur i'r meddwl, yr ydym yn cael mai manteisiol ydyw cael enw gwahanol am y curiadau distaw, yn cyfateb i'r enwau ar sain. Mae y curiadau distaw yn cael eu dynodi yn Nodiant y Tonic Sol-ffa trwy absenoldeb unrhyw enw am sain. Hyd yn nod os bydd marc am guriad yn cael ei roddi ar ddiwedd llinell, ystyrir fod curiad distaw i'w ddilyn.

**Seiniau Curiad a Haner.**—Mae y rhai hyn yn bur gyffredin, ac yn hawdd eu dysgu. Maent yn cael eu henwi a'u hysgrifenu fel y gwelir isod.

**Seiniau Chwarter Curiad.**—Mae yn haws dysgu y rhai hyn pan y rhenir y curiad i bedwar chwarter gwahanol, na phan y rhenir ef i haner a dau chwarter. O ganlyniad y mae y pedwar chwarter yn cael eu dwyn i mewn yn y gris hwn. Y maent yn cael eu galw fel hyn *taffateffe* (yr *a* a'r *e* yn fyr, ac nid yn hir). Fel hyn bydd y llafariaid yn rhanu y curiad fel o'r blaen. Os ydyw yr enwau ar amser i ddyfod yn help i'r cof, rhaid i ni ddyweyd eto y dylai yr athraw a'r dysgyblion *arfer yn ofalus* eu dyweyd yn eu hamser priodol hyd yn nod wrth *siarad*. Felly dylai TA-E fod mor hir a TA-TE, ac ni ddylai *taffateffe* gymeryd mwy o amser na'r naill na'r llall; ni ddylai TA na TE gymeryd mwy o amser y naill na'r llall; a dylai *taffateffe* fod yn bedair rhan o hyd cyfartal. Yn Nodiant y Tonic Sol-ffa y mae gwahanod (*comma*) yn rhanu yr haner curiadau i chwarteri.

Caner Ymarferiadau 71 hyd 75, (*a*) gan yr athraw yn gynllun i'r dysgyblion, ac wedi hyny ganddynt hwythau, gwel tudal. 8. Gellir rhanu yr ymarferiad i ddau gynllun os byddis yn dewis. Dylid ei ganu y naill dro yn gyflymach na'r llall. (*b*) Bob yn ail gan yr athraw a'r dysgyblion, gwel tudal. 8. (*c*) Ar y sill La, gwel tudal. 9. (*d*) Tate-er hwynt ar seiniau gwahanol, gwel tudal. 11.

Ym. 71.

| 1 : | 1 : | 1 :1 .1 | 1 :1 ||
TA-E *SHA-E* TA-E *SHA-E* TA-E TATE TA-E TA-E

CY. G. | d : | d : | d :d.r | m :d ||
CY. F. | s : | s : | s :m.r | d :m ||
CY. A. | d : | r : | m :$t_1$.r | d :$s_1$ ||

CY. A. | $s_1$ : | $t_1$ : | d :$s_1$.$t_1$ | d :r ||
CY. F. | s : | m : | r :$t_1$.d | r :m ||
CY. F. | m : | s : | m :r.$t_1$ | r :d ||

*Cyf. Saf. (New.*

Ym. 72.

|1 :1 | :1 .1 |1 :– .1 |1 .1 :1 ||
TA-E TA-E *SHA-E* TATE TA-E - ATE TATE TA-E

CY. G. |d :$s_1$ | :d.r |m :–.d |$t_1$.d:r || CY. B. |d :$t_1$ | :r.d |$s_1$ :–.d |m.r:d ||

CY. F. |m :d | :r.d |s :–.m |r.d:$t_1$ || CY. F. |m :r | :d.m |s :–.$t_1$ |r.d:d ||

CY. G. |r :s | :r.$t_1$ |$s_1$ :–.$t_1$ |d.r:m || CY. F. |m :d | :s.m |m :–.r |m.s:s ||

Ym. 73.

|1 :– .1 :1 .1 |1 .1 :1 : |1 .1 :1 :1 ||
TAE - ATE TATE TATE TAE *SHA-E* TATE TA-E TA-E

CY. G.
|d :–.$t_1$ : d.$r_1$ |m.r : d : |m.r : d :$s_1$ ||

CY. A.
|d :–.s : m.d |$s_1$.$t_1$ : r : |$s_1$.$t_1$ : r :$t_1$ ||

CY. F.
|d :–.r : m.s |$t_1$.r : d : |$t_1$.r : d :$s_1$ ||

CY. A.
|m :–.d : $t_1$.d |m.r : m : |d.$t_1$ : d :$s_1$ ||

CY. A.
|m :–.r : d.t |r.d : d : |r.d : $t_1$ :d ||

CY. G,
|$s_1$ :–.$t_1$ : r.$t_1$ |d.m : m : |m.s : s :m ||

Ym. 74.

|1 :1 |1 .1 :1 |1 .1 :1 .1 |1 .1 :1 |
TA-E TA-E TATE TA-E TATE TATE TATE TA-E

|1,1.1,1 :1 .1 |1,1.1,1 :1 .1 |1,1.1,1 :1 .1 |1 .1 :1 ||
taffeteffe TATE taffeteffe TATE taffeteffe TATE TATE TA-E

CY. G.

|$s_1$ :$s_1$ |$s_1$ .m :d |$s_1$ .m :d .$s_1$ |$s_1$ .m :d |

|$s_1$,$s_1$.$s_1$,$s_1$ :$s_1$ .$t_1$ |$t_1$,$t_1$.$t_1$,$t_1$ :$t_1$ .r |d,d.d,d :d .m |r .$t_1$ :$s_1$ ||

CY. G.

|s :s |s .m :d |s .m :d .m |s .m :d |

|s,s.s,s :s .m |m,m.m,m :m .d |r,r.r,r :r .t |d .m :s ||

*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. 75.

| l :l .l | l :l | l .l :l .l | l :l |
| TA-E TATE | TA-E TA-E | TATE TATE | TA-E TA-E |

| l :l,l.l,l | l .l :l | l,l.l,l :l,l.l,l | l .l :l ||
| TA-E taffatefe | TATE TA-E | taffatefe taffatefe | TATE TA-E ||

CY. G.

| d :m .d | m :d | r .$t_1$ :r .$t_1$ | r :$s_1$ | d :m,r .d,r | m .d :d | r,d.$t_2$,d :r,d,$t_2$,d | r .$t_1$ :$s_1$ ||

CY. E.

| d :$t_1$ .r | d :m | $t_1$ .r :d .m | r :s | d :t,d .r,t | d .m :m | $t_2$,d.r,t :d,r .m,d | r .s :s ||

### SEINIADAETH.

**Y Ddau Brif Gord.**—Fel y mae y seiniau **d m a s**, wrth eu canu gyda'u gilydd, yn ffurfio cord, felly y mae y seiniau **s t a** $r^1$. Yr ydym yn galw y cyntaf yn gord *Doh*, yr ail yn gord *Soh*. Yr ydym bob amser yn ysgrifenu yr enwau ar y cordiau mewn prif-lythyrenau D, S. Mae y ddau gord, a'u hystyried ar wahan ac ynddynt eu hunain, yn hollol yr un peth. Mae eu seiniau yn hollol yr un bellder o ran graddeg oddiwrth eu gilydd, a phe clywid y cord S, neu y seiniau dilynol **s t** $r^1$, heb glywed sain cord D, neu y seiniau dilynol **d m s**, yn flaenorol, hwy gynyrchent yr un effaith yn gymhwys ar y meddwl. Ond mor fuan ag y byddwn yn gosod dau o'r fath gordiau a chyfrwng neillduol rhwng y naill a'r llall, yr ydym yn sefydlu set newydd o berthynasau, ac yn mwyhau yr effaith ar y meddwl. Nid *un* cord a'i gyfrwng-berthynasau y mae y glust yn ei deimlo, ond *dau* gord, a'u perthynas â'u gilydd,—y cyfryw ydyw grym a chyflymder cymdeithasiad meddyliol. Y cord hwnw mewn ton ag sydd yn *gyntaf* yn meddianu y glust sydd yn rheoleiddio y cordiau dilynol. Er engraifft, yn Ym. 57 hyd 64 yr oeddem yn ofalus i "sefydlu y cyweirnod" trwy beri clywed **d m s** cyn y gallasem beri fod effaith feddyliol **t a r** yn cael ei deimlo. Mae y berthynas rhwng D a S, hyny yw, rhwng unrhyw gord a'r un arall hwnw sydd yn cychwyn o'i sain uchaf ei hun, yn un hynod a phwysig. Gelwir hi y berthynas rhwng y Tonydd (D) a'r Llywydd (S). Y mae yn cyfansoddi y brif elfen mewn perthynas cyweirnodol. Mae y ddau gord hyn eu hunain yn ddigon i wneyd cerddoriaeth. Y mae llawer tudalen ddysglaer o gerddoriaeth glasurol yn gyfansoddedig o'r cordiau D a S.

**Trydyddau, Chwechfedau, a Degfedau.**—Bydd yn dda gan y nifer fwyaf o ddosbarthiadau, a phob dysgybl sydd yn dysgu ei hunan, gael efrydu cydgordiad y seiniau tra byddont yn canu, a chanant o gymaint a hyny yn well. Y mae cyfryngau neu bellder rhwng seiniau yn cael eu cyfrif fel grisiau ar y raddfa, a chyfrifir y seiniau eithafol bob amser. Felly y mae y pellder rhwng **d a r** neu **m a f** yn cael ei alw yn eilfed, a rhwng **d a m** neu **r a f** yn drydydd, ac felly yn y blaen. Trwy gyfrif fel hyn ar y modulator, fe ganfyddir fod o **d** i'r **m** nesaf tuag i fyny *drydydd*,—o **d** i'r **m** nesaf tuag i lawr ($m_1$) drydydd *wedi ei droi*, neu *chwechfed*,—ac o **d** i'r **m** sydd yn wythawd i'r **m** nesaf i fyny ($m^1$) *ddegfed*. Felly yr un modd y mae o $l_1$ i **d** drydydd (trydydd *lleiaf*), ac o **l** i **d** chwechfed, ac o $l_1$ i $d^1$ ddegfed. Beth ydyw y cyfryngau rhwng **m a s**?—**m a** $s_1$? —**m a** $s^1$? Y cyfryngau hyn (y rhai ydynt y trydydd mewn gwahanol gyfleadau,) sydd yn cyfansoddi *melusder* pob cynghanedd, ac felly y maent yn cael eu defnyddio yn helaeth. Yn Ym. 69 chwilier am ddeuddeg o drydyddau, a chwech o chwechfedau. Yn Ym. 80 chwilier am chwechfed yn cael ei ddilyn gan ddegfed.

**Wythfedau ac Unseiniau.**—Y mae sain gyntaf

ac olaf Ym. 69 *yr un* o ran sain yn y ddwy ran, hyny yw, yn unsain perffaith. Yn nechreu llinell olaf y geiriau, y mae yno wythawd rhwng y ddwy ran. Nid ydyw yr unseiniau a'r wythodau hyn yn rhoddi y syniad priodol am gynghanedd—hyny yw lleisiau gwahanol yn cydgordio; ac anfynych y defnyddir hwynt ar guriad trwm, lle y canfyddid hwynt hawddaf, ond y maent yn ddefnyddiol yn rhediad y gynghanedd—yn gadael i'r rhanau neu leisiau gwahanol basio trwyddynt at rywbeth melusach neu gryfach, neu yn eu dwyn i derfyniad ar y cyweirnod. Byddai dau gyfrwng o'r fath, y naill yn dilyn y llall, yn gwneyd i'r gynghanedd ddiflanu. O ganlyniad mae y cyfryw ddilyniad, fel y sylwa'r dysgybl, yn cael ei osgoi. Wrth siarad uchod am unsain, yr ydym wedi golygu unsain *hollol*, ond y mae y gair unsain yn cael ei arfer i ddynodi canu yr un seiniau gan leisiau meibion a merched, wythawd oddiwrth eu gilydd, megys yn ein "Hymarferiadau mewn Lleisiadaeth Pur."

**Pumedau a Phedweryddau.**—Yn Ym. 69 y mae dau bumed (o **s**, i **r** yn y ddau amgylchiad), ac yn Ym. 70 y mae pedwerydd, **s**, i **d**. Mae y ddwy sain o bumed yn cytuno â'u gilydd yn fwy *perffaith* nag unrhyw gyfrwng arall, oddieithr yr wythawd, ond nid ydynt mor felus a'r trydydd. Mae eu cydseiniaid yn rhyw ocr a chaled, er yn gryf a chadarn, Nid ydynt, gan hyny, yn cael eu defnyddio yn aml mewn cynghanedd o ddwy ran, ac y mae *dau* o honynt yn dilyn eu gilydd yn *ddychryn* i'r holl gyfansoddwyr. Y mae pedweryddau yn bumedau wedi eu *gwrthddullio* (fel y mae chwechfedau o drydyddau), ond y maent yn llawer iawn llai cymeradwy gan y glust. Nid ydynt yn meddu *perffaith* gyduniad y pumedau, na chyduniad *melus* y trydyddau, ac y maent yn cael eu hosgoi yn gyffredinol mewn cynghanedd o ddwy ran; dewisir hyd yn nod unseiniau neu wythfedau noeth o'u blaen. Pan ddefnyddir hwynt, gwneir hyny ar guriad gwan (lle na sylwir cymaint arnynt,) neu mewn curiadau cryfion mewn lle ag y byddant yn awgrymu i'r meddwl rai o arferion cyffredin cordiau, y rhai a eglurir ar ol hyn.

**Anghydseiniaid.**—Y mae wythfedau, pumedau, pedweryddau, a thrydyddau yn *gydseiniaid.* Y mae eilfedau, megys **f** yn erbyn **s**, neu **d** yn erbyn **r**, pa un ai yn agos i'w gilydd neu yn cael eu gwahanu gan wythfedau (hyny yw, pa un ai eilfedau, a'i seithfedau, neu nawfedau,) yn *anghydseiniaid.* Y maent yn swnio yn anhyfryd gyda'u gilydd. Ond gellir dwyn anghydsain i mewn mor felus, a'i dwyn i derfyniad mor hyfryd, ac fe all y "rhan" sydd yn ei chynwys symud mor esmwyth, fel ag i'w gwneyd yn dderbyniol. Y rheswm am hyn ydyw fod y glust yn sylwi yn naturiol ar *ysgogiad y ddwy felodedd*, yn gystal ag ar y cydseiniaid neu yr anghydseiniaid ar y pryd. Fel hyn, yn Ym. 69, yr ydym yn cael ar y pumed curiad, a chyfrif o'r olaf, **d** yn anghydseinio a **r**, ond y mae yn cael ei "barotoi" trwy ei gydseiniad "melus" â **m** yn flaenorol, ac yn cael ei adferu trwy fyned i lawr un cam at **t**, ac yna yn boddio y glust â chydseiniad melus arall, fel nas gellir ei alw yn anhyfryd. Nid yw yn anhyfryd ond pan y mae ar ganwyr ei ofn, ac felly yn canu yn anghywir. Gan hyny y mae yn dra manteisiol i *wybod* yr hyn a genir. Chwilier am anghydsain gyffelyb yn niwedd Ym. 78.

**Seiniau Mynedol, neu "Pas-donau."**—Fel yr ydym wedi sylwi fod curiad gwan yn fwy disylw gan y glust na'r un cryf, felly y mae *rhan* olaf neu ail ran curiad yn cael llai o sylw na'r rhan gyntaf. O ganlyniad caniateir pethau yno ag y mae'r glust yn eu gwrthod mewn manau ereill. Fel hyn yn Ym. 79, yn y seithfed mesur, ail guriad, yr ydym yn cael esgus dros ddefnyddio yr anghydsain **r**, am ei fod ar ran wan o guriad, ac am ei fod yn *pasio yn esmwyth* o un sain o'r raddfa i'r nesaf. Chwilier am enghreifftiau ereill o bas-don ar rau o guriad yn yr un Ymarferiad 79.

Ym. **76.** Enwer, o guriad i guriad, y cyfryngau cynghaneddol yn Ym. 69, 70, 77, 78, 79, ac 80.

Bydded i'r Ymarferiadau dilynol gael eu dysgu yn yr un ffordd, sef trwy gynllun ar y modulator, yn gyntaf y naill ran, ac wedi hyny y llall,—gan tate-io ar y seiniau bob mydr anhawdd—gan solffeio o'r llyfr—*laio* o'r llyfr—cyd-ddarllen y geiriau—astudio lle i anadlu—a chanu ar eiriau fel o'r blaen. Cyn pob ymarferiad, ar ol taro y cyweirnod, bydded i'r dysgyblion sol-ffeio oddiwrth y llawarwyddion y *ddau* gord, fel hyn—**d m s, s t r**[l] **d**[l], neu mewn cyweirnodau canol **d s**, **m, s**, **t**, **r d.**

Ym. 77. CY. A. **AR OL I'R AUR.** *R. P.*

Y geiriau gan E. R. Cyf.

:s, | d :-.d | m :r | m :d | r :r | m :-.m | s :r | m :r | d
Ar | ol i'r aur† a'r | tir - oedd fyn'd Mae | dysg pryd hy-ny'n† | ffydd-lon ffrind.
:s, | m, :-.m | s, :s, | d :d | t, :t, | d :-.d | t, :t, | d :s, | m,

: | : | :r | d :m | m :s | s :d | r :-.r | m :r | d
a'r | tir - oedd fyn'd Mac | dysg pryd hy - ny'n† | ffydd-lon ffrind.
:d | t, :-.r | r : | : | :m | t, :d | s, :-.s, | s, :s, | d
Ar | ol i'r aur | Mac | dysg pryd hy - ny'n† | ffydd-lon ffrind.

2 Wrth geisio dysg† yn moreu'r oes
Y cawsom leia† 'rioed o loes.

3 A phan yn hen† tuedda hwn
I leddfu llawer† ar ein pwn.

Ym. 78. CY. B♭. M. 72. **HEN FFARMWR IACH.** *A.L.C.*

Y geiriau gan E. R. Efel.

:s, | d :s, | m, :d, | s, :s, | s, :s, | t, :t, | d :d | t, :— | —
1. Hen | ffarm-wr iach† yw | I - fan Llwyd, Hap- | us - af yn y | byd,
2. A | gweith-iwr trwm† yw | I - fan Llwyd, Mae | wrth - i drwy y | dydd;
3. Hen | fach - gen braf† yw | I - fan Llwyd, Mae'n | sir - iol yn mhob | lle,
:s, | d :s, | m, :d, | s, :s, | s, :s, | s, :s, | m, :d, | s, :— | —

:s, | d :s, | m, d, | s, :s, | s, :s, | m :m | r :r | d :— | — :
Mae'n | cod - i† gyd- a'r | wawr† bob dydd, A | chan-u mae o | hyd.
A | thra'n ar - ed - ig† | neu yn hau, Ei | gân i'w glyw- ed | sydd.
Trwy | gyd - ol haf† neu | au - af oer Chwib- | ian - u mae ef- | e.
:s, | d :s, | m, d, | s, :s, | s, :s, | d, :d | t, :s, | d :— | — :

| s,.s,.s,.s,: s, .t, | r :— | s,.s,.s,.s,: s, .d | m :- .s,
| Tra la la la la la | la, | Tra la la la la la | la Tra
| s,.s,.s,.s,: s, .s, | t, :— | s,.s,.s,.s,: s, .m, | d, :- .s,

| m .m :r .r | m.m.m.m : r .r | d .d :d .t, | d
| la la la la, † | Tra la la la la, Tra | la la la la | la.
| d, .d :t, .t, | d.d.d.d : t, .s, | m, .m :r, .r, | d

**LLYGAD Y DYDD.**

Ym. 79. CY. F. M. 76. Y geiriau gan *Fletcher*. Cyf. E. R *A. L. C.*

| s .s :s :m | m .r :r : | d .d :d :m | r .r :r :
| 1. Tlws flo-deu - yn | gloe-w gwan, | Gol-wg bryd - ferth | ar - nat sy',
| 2. Gorwedd'wyt yn | llyg-ad haul, | Neu ger - llaw'r mur- | mur-aidd li',
| m .m :m :d | d .t, :t, : | d .d :d :d | s .s, :t, :
| 3. Gwan yw'r 'storm i'th | ym- lid di | All - an o'th ym- | guddfa glyd;
| 4. Wyt ar-wydd - lun | teg o'r gwir | Yn ym - drech - u | ar bob awr;

*Cyf. Saf.* (*New.*)

s .s :s :m | m .r :r : | d .d :d .r :m .r | d :— :
Ti wyt sir - iol | lyg - ad dydd, | We-di cil - io'r gau-af | du;
Ac yn ar - af | blyg-uth ben, | Fel pe yn ei chyfarch | hi;
m .m :m :d | d .t, :t, : | d .d :d .d :d .t, | d :— :
Ac er grym yr | eir - wlaw trwm, | Ar - os 'ryd-wyt ti o | hyd;
Gwasged gof - id | ar bob tu, | Llethed trist-wch hyd y | llawr,

r .r :r :m | r .d :t, : | d .r :m :s | m .d :r :
'Spi-o 'rwyt o'th | wel - y gwyrdd, | Gyda'th lyg - ad | gwylaidd mwyn,
Neu'n ym-gudd - io'n | hollt y graig, | Yno'n llech - u | yn ei chôl;
t, .t, :t, :d | s, .s, :s, : | d .d :d :m | d .d :t, :
Nid yw oer - ni'r | gau-af du, | Nid yw tan - baid | wres yr haf,
Eto'r en - aid | fydd ddi-ofn, | Gwyr cyn hir caiff | god-i' ben,

s .s :s :m | m .r :r : | d .d :d .r :m .r | d :— :
Oes y mae, flo - | deu-yn tlws, | Genyt ryw annhraethol | swyn.
Ail i'r dyn - er | li - li wen, | Wyt frenhines dlos y | ddol.
m .m :m :d | d .t, :t, : | d .d :d .d :t, .t, | d :— :
Yn dy ddi - fa: | cyn pen hir, | Golwg et - o ar-nat | gâf.
Er pob 'storm sy'n | cur - o'n awr, | Pan dy - wyn-o haul y | nen.

## O, DEUED YR HAF.

Ym. 80. cy. D. M. 60, ddwywaith. Y geiriau gan E. R. Cyf. *A. L. C.*

m :— :— | m :r :m | s :— :— | — :— : | d' :— :— | t :r' :t
1. O, deu - ed yr | haf, | O, deu - ed yr
2. Doed blo - dau yr | haf, | Doed blo - dau yr
3. O, tyr - ed yr | haf, | O, tyr - ed yr
d :— :— | d :t, :d | m :— :— | — :— : | m :— :— | r :t, :r

d' :— :— | — :— : | m :s :s | m :s :s | d' :— :m | s :— :—
haf, | Ar - os yn hir wnaeth y | gau - af du,
haf, | Plant sy'n hir - aeth - u am | feus - ydd gwyrdd,
haf, | Gwisger dy flod - au ar | gang - au'r coed,
m :— :— | — :— : | d :t, :t, | d :m :m | m :— :d | t, :— :—

t :t :t | d' :d' :s | s :— :m | r :— :— | m :s :s | m :s :s
Chwythed aw - el - on | ty - ner braf, | Clywer yr ad - ar yn
Wed-i' hadd - urn - o a | blo - dau braf, | Dysgwyl y maent am bles-
Gwel-er y meus-ydd yn | ffrwyth - o'n braf, | Hyf - ryd wyt, tyr - ed, O
r :r :r | m :m :m | m :— :d | t, :— :— | d :t, :t, | d :m :m

*Cyf. Saf.* (*New.*)

| d' :d' :m | s :— :— | m :— :— | m :r :m | s :— :— | — :— : |
|---|---|---|---|---|---|
| can - u'n | llu; | O, | deu - ed yr | haf. | |
| er - au | fyrdd | Doed | blod- au yr | haf. | |
| tyr'd yn ddi | - oed, | O, | tyr - ed yr | haf. | |
| m :m :d | $t_1$ :— :— | d :— :— | d :$t_1$ :d | m :— :— | — :— : |

**Curo ddwywaith yn y mesur.**—Tate-er Ym. 80 yn amyneddgar, tra y mae yr athraw yn curo pob curiad, heb aros na brysio. Fel hyn yn unig y gall hyd cywir pob sain a distawrwydd gael ei gaufod. Ond pan y mae mesur chwe churiad yn symud yn gyflymach nag y dylai hwn, edrychir ar bob curiad fel y drydedd ran o guriad, a'r holl fesur fel mesur dau guriad gyda defnyddiad helaeth o "drydeddau." Yn yr amgylchiad hwn nid yw yr arweinydd yn curo ond dwywaith i'r mesur.

**Rhydd-ymarferion ar y Modulator.**—Defnyddir y rhai hyn gyda phob gwers.

Dylai **Ymarferiadau i'r Glust**, fel y rhai yn "Awgrymiadau mewn perthynas i Ymarferiadau i'r Glust," ac, os bydd yn bosibl, ymarferiadau yn y rhai y mae y dysgybl yn ysgrifenu yr atebion, fod mor gyson ag awr y wers. Os bydd yr athraw yn cael nad yw y dysgyblion yn cael allan y r yn hawdd, nid yw yn dyweyd wrthynt nag yn gadael iddynt hwy ddyfalu, ond y mae drachefn yn ad-gofio iddynt effaith feddyliol r, ac yn egluro yn ymarferol iddynt drachefn y r uchel gyffrous, a'r r isel erfyniadol, ac yna yn rhoddi prawf drachefn arnynt. Ar ol bod dros y seiniau yn Sol-ffa, rhaid i'r dysgyblion fod yn bur ofalus i sylwi ar ba sain y mae y rhifnod un yn disgyn. Nid ydynt yn cael mantais deg os na ddaliant ar y *nodyn cyntaf*. Dylai yr athraw fod yn bur ofalus i wneyd ei gynllun neu batrwm ei hunan yn glir. Un ffordd ag y mae yr athraw i gadw y dosbarth i gyd ar waith ydyw i ofyn i bob un a all ateb, i ddal ei law i fynu, ac yna i nodi allan yr un hwnw ag y mae yn dymuno cael ei atebiad. Ffordd arall ydyw rhoddi yr atebiad iawn, a gofyn i bob un oedd yn iawn i ddal ei law i fynu.

Mewn clust-ymarferiadau ar *amser* mae yr athraw yn laf, yn *tate-io* gydag aceniad, ddau fesur syml, yna yn canu ar y sill *la* yn olynol fydr o ddau fesur ar un sain, ac yn galw ar y dysgyblion i'w ysgrifenu neu eu *tate-io*. 2il. Y mae yn *sol-ffeio* mydr byr, ac yn gofyn i'r dysgyblion ei tate-io ar y seiniau priodol. Bydd llawer o'r hen ymarferiadau, a rhai yn yr "Awgrymiadau gyda golwg ar Ymarferiadau i'r Glust," yn rhoddi digon o ddefnyddiau parod iddo.

**Darllen Allan.**—Dysgir nodiant, a dirnadaeth glir gyda hyny, drwy ymarferiadau mewn darllen allan. Darllenid allan ail ran o Ym. 77, ail linell mesur y pumed (gan gyfrif rhan gyntaf mesur bob amser yn un) fel hyn:—"TRA-E t isaf" "-A-TE r" "TLA-E r" "*SHA-E*" "*SHRA-E*," &c. Darllenid allan Ym. 78, trydydd llinell, mesur cyntaf, fel hyn:—"traffateffe $s_1$ $s_1$ $s_1$ $s_1$ isaf," "TATE $s_1$ isaf, $t_1$ isaf," "TA-E-A-E r."

**Pwyntio o'r Cof ac Ysgrifenu o'r Cof.**—Gwneir hyn yn ddiwyd fel y cynghorir ar tudal. 13. Os gall yr athraw benodi haner awr cyn neu wedi amser rheolaidd y dosbarth, i bwyntio neu ysgrifenu o'r cof, ac i ddarllen allan, caiff y bydd dyddordeb ei ddosbarth, a chywirdeb ei wybodaeth, yn gymaint ddengwaith. Yn niwedd pob gwers dylid dewis un neu ddau o'r ymarferiadau yn gof-ymarferiadau y cyfarfod dilynol. Dylai y dysgybl gopïo yr ymarferiad hwnw chwech neu ddeg o weithiau o'r llyfr, hyd nes y caiff, trwy brofi ei hunan, ei fod yn gallu ei ysgrifenu o'r cof. Hyd y nod yn y dechreu, y mae deng mynyd o ysgrifenu, yn mhresenoldeb yr athraw, ar bapyr glan, heb lyfr, yn ddigon. Yn y cyfamser gall yr athraw gerdded o amgylch y dosbarth i roddi cynghor neu gyfarwyddyd. Mewn llai na phum mynyd bydd gan y cyflymaf, ei ymarferiadau yn barod. Mae yr athraw yn edrych drostynt, ac yn eu marcio fel yr awgrymir ar tudal. 12, ac y mae yr ysgrifenydd yn rhoddi y marciau yn mhlaid pob dysgybl yn llyfr y dosbarth. Gall yr athraw wneud sylwadau ar gamgymeriadau cyffredin, neu eu dangos ar y bwrdd du.

**Tyst-ysgrif Elfenol.**—Y mae y dysgyblion yn awr yn dechreu gwneyd i fyny eu rhestr o chwech o donau ar gyfer y Tyst-ysgrif elfenol.

YMARFERIADAU YCHWANEGOL i'r gris yma a geir yn y mur-leni *(wall sheets)*.

## ATHRAWIAETH.

1 A ydyw gwyliadwriaeth mewn athraw ar ddosbarth yn ddigon i ffurfio yn ei ddysgyblion *arferion* priodol mewn ystum, &c. Pwy raid eu ffurfio?

2 Beth ydyw amcan "Ymarferiadau y frest?"

3 Yn yr "Ymarferiadau mewn lleisiadaeth pur," beth ydyw prif bethau efrydiaeth y dysgybl?

4 Desgrifiwch bedwar gris yr ymarferiad hwn, a'r rhesymau dros bob un?

5 Beth ydyw prif amcan yr ymarferiadau mewn seiniadaeth, a pha rai ydynt y tri phwynt a rydd yr athraw sylw iddynt yn ystod yr ymarferiadau hyn?

6 Ar ol sefydlu cord y tonydd yn y glust, beth ydych chwi eich hunain yn ei deimlo ydyw effaith feddyliol *Ray* uchel pan yn cael ei chanu yn araf? Desgrifiwch yr effaith yn eich geiriau eich hunain, mor agos ag y gellwch, ond gofelwch ddesgrifio eich syniadau eich hunain, ac nid yr eiddo ereill.

7 Yn yr un modd desgrifiwch *Ray* isel.

8 Pa argraff feddyliol ydych yn ei chael oddiwrth *Te* uchel?

9 Pa deimlad a gynyrchir gan *Te* isel?

10 Pa fodd yr ydych yn gwahaniaethu llafariad a chydseiniad?

11 Pa fath bersonau sydd yn gyffredin yn *ddiog* yn nefnyddiad eu gwefusau a'u tafod, ac o ganlyniad yn *anmhenodol* yn eu llafariaid a'u cydseiniaid?

12 Paham y mae o gymaint pwys i'r canwr i ollwng allan y *llafariaid* yn glir a phendant?

13 Wrth ddewis anadl-fanau, pa ystyriaeth sydd yn fwy pwysig na rhaniad naturiol y llinell neu yr adran gerddorol i adranau?

14 Rhodder esiampl (gwahanol i'r rhai a roddir uchod) yn mha un y byddai "anadlu er mwyn y synwyr" yn myned yn groes i'r "anadlu er mwyn yr adran."

15 Rhowch engraifft o "anadlu er mwyn pwyslais."

16 Desgrifiwch y "ffurf gerddorol" a elwir yn "don gron."

17 Beth ydyw y prif anhawsder i ganu ton gron?

18 Desgrifiwch y mesur pedwar curiad.

19 Desgrifiwch y mesur chwe churiad.

20 Trwy ba gyfnewidiad geiriol yr ydym yn dynodi yr acen gymhedrol wrth ddarllen allan ac mewn addysgiant elfenol?

21 Beth ydyw yr enw am guriad distaw?

22 Beth ydyw yr enw am sain curiad a haner?

23 Sut yr ydym yn enwi y chwarter curiad hwnw sydd yn syrthio yn niwedd yr haner cyntaf?—hwnw yn niwedd yr ail haner?—hwnw yn nechreu yr haner cyntaf?—hwnw yn nechreu yr ail haner?

24 Pa fodd y darllenech allan y tri mesur olaf yn Ym. 79?

25 Pan y mae seiniau yn dal perthynas a'u gilydd fel y mae *Doh, Me,* a *Soh*, neu fel $Soh_1$, $Te_1$, a *Ray*, yn cael eu canu gyda'u gilydd, neu yn olynol, beth y mae y cyfryw gyfuniad yn cael ei alw?

26 Pan y mae un cord felly yn cael ei glywed yn gyntaf, ac wedi meddianu y glust, os cynyrchir cord arall cyffelyb oddiar sain uchaf yr un blaenorol, beth allwch ei ddyweyd am y berthynas rhyngddynt?

27 Enwer neu ysgrifener trydydd, chwechfed, a degfed.

28 Pa berthynas sydd rhwng chwechfedau a thrydyddau? a rhwng degfedau a thrydyddau?

29 Beth sydd yn natur y cyfryngau hyn sydd yn peri eu bod yn cael eu defnyddio mor gyffredin mewn cynghanedd?

30 Beth yw y gwahaniaeth rhwng unseiniau o leisiau gwahanol ac unseiniau hollol?

31 Pa le y mae wythfedau ac unseiniau hollol yn ddefnyddiol mewn cynghanedd dwy ran?

32 Pa effaith ar y gynghanedd gaffai wythfedau dilynol ac unseiniau?

33 Enwer neu ysgrifener dau bumed a dau bedwerydd.

34 Pa berthynas sydd rhwng pedweryddau a phumedau?

35 Pa un ai pumedau, pedweryddau, ynte trydyddau, sydd yn cynwys y cyfuniad agosaf neu mwyaf *perffaith* o ddirgryniadau? Pa un y *melusaf?*

36 Yn mha amgylchiad yr osgöir pumedau gan gyfansoddwyr?

37 Paham na ddefnyddir hwynt yn fwy mynych mewn cynghanedd dwy ran?

38 Pa fodd yr edrychir ar bedweryddau mewn perthynas i gynghanedd?

39 Enwer neu ysgrifener pedwar gwahanol fath o gydseiniau.

40 Enwer neu ysgrifener lluaws o anghydseiniau.

41 Desgrifiwch pa fodd y mae yr anghydseiniau a glywsoch yn cael eu parotoi a'u hadferu.

42 Desgrifiwch y seiniau mynedol, neu y "pas-donau," yr ydych wedi sylwi arnynt ar ran ysgafn curiad.

## YMARFERIAD

43 Daliwch sain sefydlog am ddeng eiliad heb gymeryd anadl.

44 Caner *Doh, Me, Soh, Doh', Doh', Soh, Me, Doh,* yn nghyweirnod D neu C, ar y sill *La,* mor ysgafn a hyfryd ag y gellir.

45 Sol-ffaer unrhyw ymarferiad a ddewiser, gan ddangos effaith feddyliol *Ray* uchel, *Ray* isel, *Te* uchel, *Te* isel.

46 Caner ar eiriau rhan uchaf unrhyw *un* o Ym. 65 hyd 70 a ddewiser gan yr holydd. Caner yn gywir o ran amser, sain, a seiniadaeth geiriau, heb anadledd neu chwythiad yn y sain, a chan gymeryd anadl yn y manau priodol. Dylid rhoi marciau am bob un o'r pethau hyn.

47 Yr un modd gydag Ym. 77 a 80.

48 Caner ar *La* y *Ray* a'r $Te_1$ i unrhyw *Doh* a rydd yr athraw.

*Cyf. Saf. (New.)*

49 Caner ar *La* y *Ray'* a'r *Te* i unrhyw *Doh* a rydd yr athraw.

50 Tata-er o'r cof unrhyw un o'r Ym. 71 hyd 75 a ddewiso'r holydd.

51 Tata-er rhan uchaf un o Ym. 77 neu 78 a ddewiso'r athraw.

52 Tata-er mewn seiniau ran uchaf o un o Ym. 79 neu 80 a ddewiso'r holydd.

53 Pwyntier ar y modulator o'r cof (mewn Sol-ffa) unrhyw un o'r pedwar Ym. 65, 66, 67, 69, a ddewiso'r athraw.

54 Dilyner yr holydd yn pwyntio rhydd-ymarferiad newydd, yn cynwys *Doh, Me, Soh, Te,* a *Ray,* ond heb ddim anhawsderau mewn amser.

55 Ysgrifener o'r cof unrhyw un arall o'r ymarferiadau hyn a ddewiso yr holydd.

56 Ar ol canu unrhyw frawddeg (yn perthyn i'r gris yma) ar rifnodau, dyweder wrth yr holydd (neu ysgrifener i lawr) pa rifnod a ganwyd ar *Ray,* ar *Ray'*, ar $Te_1$, ar *Te.*

57 Ar ol clywed cord y tonydd, dywedwch wrth yr holydd (neu ysgrifenwch i lawr) pa sain o'r raddfa (*Doh, Me, Soh, Te,* neu *Ray*) a ganwyd yn uniongyrchol ar *sca.* Gwneler hyn ar ddwy sain gwahanol.

58 Tata-er unrhyw fydr, o ddau fesur o leiaf, yn perthyn i'r gris yma, yr hwn a genir ar *La* gan yr athraw. Rhydd efe yn gyntaf y mesur a chyflymdra'r ysgogiad trwy tate-io ddau fesur syml, gan nodi yr aceniadau gydag *r* neu *l* heb guro amser, ond y ddau fesur i'w hefelychu ni wna efe ond eu canu ar *La* ar un sain.

59 Tata-er mewn sain unrhyw fydr, o ddau fesur o leiaf, yn perthyn i'r gris yma, y rhai ar ol rhoi y mesur a'r cyflymdra fel uchod, a sol-ffëir gan yr athraw.

## Y TRYDYDD GRIS.

*I fyned trwy ymarferiadau mwy anhawdd ar y frest mewn lleisiadaeth bur, a seiniadaeth I adnabod y cyflead* a *a* b, *a gwahanol gyfansoddiadau cordiau — adferiad y "Llywydd mwyaf"—yr anghydsain* d *yn erbyn* r *yn* S. *I adnabod a chynyrchu pedwerydd a chwechfed y Raddfa. I sylwi ar berthynas cyflymdra ysgogiad ag effaith feddyliol. I adnabod y gwahanol fathau o leisiau. I adnabod a chynyrchu un sain benodol o ran graddeg, ac un cyflymdra ysgogiad. I daro tonau. I ddewis anadl-fanau. I gael y syniad cyntaf am Fynegiant. I ddod yn ymwybodol o'r toriad mawr rhwng y rhestr dew neu gyntaf, a'r un deneu neu ail, ar y llais. I gryfhau yr ail neu y rhestr deneu mewn dynion. I adnabod a gallu cynyrchu seibiau o haner curiad, a rhaniadau gwahanol seiniau, a gynyrchir trwy gyfuniadau o chwarter curiad a thor-aceniad. I efrydu elfenau Salmganiadaeth. I adnabod yr haner anghydsain* t *a* f, *a'r anghydsain anmharatöedig* f *yn erbyn* s. *I adnabod ysgogiad perthynasol dwy ran.*

Ym. 81. Ymarferiad y Frest.—Yr un ag Ym. 54, ond y gellir dysgwyl 15 eiliad yn awr yn lle deg. Os nad yw yr athraw yn bur siwr ei fod yn alluog i gyfrif M. 60, rhaid iddo ddefnyddio metronome linyn beth bynag.

Ym. 82. Ymarferiad mewn Lleisiadaeth Bur.—Rhaid gwneyd hyn gyda'r llaw-arwyddion, ac yn yr un dulliau ag yn Ym. 55. Ar ol ymarfer yn mhob cyweirnod, bydded i'r athraw brofi a ydys wedi cadw y raddeg (*pitch*). Ni ddylai fod dim fflatio yn yr ymarferiadau hyn ar y cordiau.

cy. C, B, a D. Ymarferiad mewn lleisiadaeth bur.

| d :m :s | d :m :s | s :t :r' | s :t :r' | d' :— :— ‖ |
|---|---|---|---|---|

Ym. 83. Ymarferiad mewn Seiniadaeth.—Rhaid myned trwy y rhai hyn yn yr un modd ag yn Ym. 56, gan gymeryd gofal i sicrhau sain dyner, pob rhan yn gwrando am y llall, ac yn dysgu mwynhau cyfuniad perffaith y lleisiau. Ym. 85 ac 86 i gael eu defnyddio yn yr un modd, ond heb eiriau.

cy. D. Ymarferiad mewn seiniadaeth i dri o leisiau cyffelyb.

| d' :— \|s :d' | t : \| : | r' :— \|s :t | d' :— \|— :— ‖ |
|---|---|---|---|
| m :— \|s :m | s : \|t :— | — :— \|s :r | m :— \|— :— ‖ |
| d :— \|m :d | s : :— :— | s, :— \|t, :s, | d :— \|— :— ‖ |

**Cyflead Cordiau.**—Bydd astudio "cyflead" a chyfansoddiad cordiau mewn cysylltiad â'r ymarferiadau mewn seiniadaeth, yn cynyrchu caniadaeth meddylgar, ac o ganlyniad caniadaeth gywir. Nis gellir dysgwyl ond i'r dosbarthiadau mwyaf deallus, neu y rhai mwyaf deallus yn y dosbarth, ddilyn yr efrydiaeth yma. Pan y mae seiniau cord yn sefyll y naill ar y llall mor agos ag y gellir, (megys D, pan y mae yn sefyll yn y drefn **d m s**, gan gyfrif tuag i fyny, neu S, pan y mae yn sefyll yn y drefn **s t r'**,) dywedir eu bod yn eu sefyllfa neu gyflead *cysefin*, a gelwir y sain isaf yn *wreiddyn*, y sain ganol yn *drydydd*, a'r uchaf yn *bumed*. Yn Ym. 56, mesurau 3 ac 8, y mae D yn ei gyflead "cysefin." Yn Ym. 83, mesur 3, curiadau 1 a 2, y mae S yn ei gyflead cysefin. Bydded i'r dysgybl wrando arnynt eto, a theimlo eu cryfder. Yn Ym. 83, mesur 3, curiad 4, y mae gwreiddyn S yn y rhan isaf, ond nid ydyw yn ei gyflead cysefin. Pan y mae y *gwreiddyn* yn rhan isaf y cord, er na fyddo yn ei ffurf agosaf cysefin, y mae y cord yn y cyflead *a*. Pan y mae y *trydydd* yn y rhan isaf, y mae y cord yn y cyflead *b*. Gweler D*b* yn Ym. 85, mesur 2, curiad 1, a S*b* yn Ym. 83, mesur 3, curiad 3. Bydded i'r dysgyblion wrando arnynt o'r newydd, a sylwi ar eu gwendid cymhariaethol. Pan y mae y *pumed* yn y rhan isaf, y mae y cord yn y cyflead *c*. Fe eglurir hyn yn y gris nesaf. Y cyflead *a* ydyw yr un goreu a mwyaf arferedig. Y mae y cyflead *b* yn cael ei arfer yn fynych i wneyd melodedd y rhan isaf yn ystwythach a mwy hyfryd. Ni ddefnyddir y cyflead *c* ond mewn amgylchiadau neillduol, y rhai a nodir eto, ac yn benaf ar ddiwedd dosran, megys yn Ym. 85.

**Cyfansoddiad Cordiau.**—Gellir gadael allan neu

ddyblu un neu ychwaneg o'r rhanau fyddo yn cyfansoddi cord. Yn Ym. 56, mesur 3 ac 8, y mae D yn gyflawn. Dangosir fod cord yn *gyflawn* (pan yr ydym yn dymuno marcio cyfansoddiad cordiau,) trwy y ffigiwr 1, fel hyn D*a*1. Gweler S*a*1 yn Ym. 83, mesur 3, curiadau 1, 2, a 4. Mae y gwreiddyn (y sain bwysicaf mewn cord,) yn cael ei ddyblu yn aml. Mae *treblu* y gwreiddyn (yr hyn nad yw yn beth anghyffredin mewn cynghanedd pedair rhan,) yn cael ei ddangos gan y ffigiwr 2. Yn Ym. 56, mesur 4, curiad 2, mae y gwreiddyn yn cael ei dreblu—yn wir, rhaid *tybio* fod yno *gord* o gwbl. Ond pe byddai yno drydydd neu bumed yn cael ei ychwanegu at y gwreiddyn hwn wedi ei dreblu, ni a'i galwem yn gord S*a*2. Anaml y mae y *trydydd*, gwreiddyn melusder, yn cael ei adael allan. Dynodid ei *adawiad allan* trwy y ffigiwr 3. Mae y trydydd yn cael ei ddyblu yn fynych yn D*a*, D*c*, F*a*, ac F*c*; ond yn D*b* a F*b*, lle y mae y trydydd eisoes yn amlwg, trwy ei fod yn y rhan isaf, y mae ei ddyblu yn cael ei osgoi (gan y byddai yn ormod o felusder), (Gwel Cordiau Lleiaf, tudal. 49,) oddigerth i gael gwell melodedd yn y rhanau; ac yn S nis gellir dyblu y trydydd, gan fod ei **t** bob amser yn myned i **d'**, y cord nesaf, ac felly ni gaem yr effaith foel o fod dwy **t** yn myned i ddwy **d'**—wythfedau dilynol. Gwel tudal. 22. Marcir y trydydd wedi ei *ddyblu* gan y ffigiwr 4. Y mae yn beth cyffredin iawn i adael y pumed allan. Y mae mor debyg i'r gwreiddyn fel y mae ei bresenoldeb neu ei absenoldeb yn tynu llai o sylw na'r trydydd. Dangosir ei *absenoldeb* gan 5, ei *ddybliad* gan 6. Gweler D*a*5 yn Ym. 56, mesurau 4 a 7, ac Ym. 93, mesurau 1 a 4. Gweler S*a*5 yn Ym. 83, mesur 2, ac S*b*5 yn mesur 3. Dangosir gwreiddiau wedi eu gadael allan—cordiau heb sylfeini—gan y sill *om* (y sill cyntaf yn y gair Seisnig *omitted*), ond nid ydym yn edrych ar gord fel un a'i wreiddyn wedi ei adael allan ond pan y mae arferion y glust yn ei wneyd yn hollol angenrheidiol i ni *feddwl* am y gwreiddyn absenol yn y *cyfryw le*. Gwel Ym. 83, mesur 1.

**Rhagfudiad neu Ysgogiad S.**—Sylwer nad ydyw S ond yn anamlyn symud at unrhyw gord arall ond D, ei **t** yn myned i **d'**, ei **r** i **m** neu **d**, a'i **s** i **d** neu **s**, neu, yn fwy anfynych, i **m**. Gweler diwedd Ym. 83, ac Ym. 85 a 86. Fel hyn y mae y ddau gord yma, y rhai sydd yn eu cyfansoddiad mewnol yr un fath, yn cydnabod perthynas y naill a'r llall. Y mae S yn dangos ei hun fel yn hongian yn ymlyngar wrth D. Ond fel ymlynwyr ereill, dywedir ei fod yn llywyddu,—hyny yw, yn rheoli y cyweirnod—a gelwir ef y Llywydd. Mewn gwirionedd, ei ddatganiad clir o'i berthynas â D sydd yn penderfynu y cyweirnod. Pa le bynag, yn ngraddeg sain, y mae dau o'r fath gordiau yn ymlynu wrth eu gilydd *fel hyn*, y mae *yno* gweirnod. Bydded i'r dysgyblion wrando eto ar ddiwedd Ym. 82 yn cael ei ganu yn dyner ar *la*.

**Y Chord Pedwar Soh.**—Sylwer ar ddiwedd Ym. 86, y **d** yn anghydgordio â **r** yn nghord S, lle y mae trydydd y cord yn cael ei adael allan er gwneyd lle iddo. Cyfrifir ef fel pedwerydd yn y cord hwn. Yr ydym ni yn galw y cord yn "Bedwar Soh," ac yn ei ysgrifenu fel hyn ⁴S. Yn yr amgylchiad hwn y cyflead ydyw *a*, a'r cyfansoddiad 3.

Ym. **84.** Enwer, o guriad i guriad, y cordiau, gyda'u cyfleadau, a'u cyfansoddiadau, yn Ym. 85 ac 86. Fel hyn, D*a*5, S*a*1, &c.

Ym. **85.** CY. **C.** Ymarferiad mewn seiniadaeth, fel uchod.

| d' (pause) | d' : d' | t : – ‖ | t (pause) | d' : d' | d' : t | d' :– ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m | s : m | s : – ‖ | s | s : s | m : r | m :– ‖ |
| d | m : d | s : – ‖ | s | m : d | $s_1$ : $s_1$ | d :– ‖ |

Ym. **86.** CY. **G.** Ymarferiad mewn seiniadaeth, fel uchod.

| m (pause) | m : r | m : – ‖ | m (pause) | r : d | r : r | m :– ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d | d : $t_1$ | d : – ‖ | d | $t_1$ : d | d : t | d :– ‖ |
| d | d : $s_1$ | d : – ‖ | d | $s_1$ : $m_1$ | $s_1$ : $s_1$ | d :– ‖ |

*Geiriau i Ym.* 85, *i gael eu dysgu wrth Ym.* 110.

New-yddion braf-a | ddaeth i'n bro—
Hwy haeddent | gael eu dwyn ar go'—
Mae Iesu wedi | car io'r dydd—
Caiff carchar | or ion fyn'd yn rhydd—

Mae-Iesu Grist-o'n | hoch or ni—
Fe gollodd | Ef ei waed yn lli'—
Trwy rinwedd hwn-fe'n | dwg yn iach—
I'r ochor | draw mhen gron yn bach—

*Geiriau i Ym.* 86, *i gael eu dysgu wrth Ym.* 110.

Hen-ffych-i enw Iesu gwiw 'syrthied o'i flaen ang | yl ion Duw—
'Rhowch-iddo'r parch 'holl deulu'r nef 'yn Arglwydd | pawb cor on wch ef—
Chwychwi-a brynwyd trwy-ei waed 'plygwch-yn isel | wrth ei draed—
'Fe'ch-tynodd a-thru gar-edd gref . yn Arglwydd | pawb cor on wch ef—

Boed i-bob llwyth-a phob-rhyw iaith 'trwy holl-der fynau'r | ddae ar faith—
Gydganu'n llafar iawn-eu llef 'yn Arglwydd | pawb cor on wch ef—
Er-bod-eu beiau'n aml iawn 'mae ganddo iachaw | dwr iaeth lawn—
'Eu-cânu'n wyn-wna Brenin nef . yn Arglwydd | pawb cor on wch ef—

*Cyf. Saf.* (*New.*)

**Y Dalnod** (𝄐) **a arwydda fod y nod odditano i gael ei ddal mor hir ag y byddo yr arweinydd neu y canwr yn dewis.**

**Effeithiau Meddyliol Fah neu Lah.**—Mae effeithiau meddyliol y seiniau hyn yn cael eu dwyn allan yn yr un ffordd ag a arferwyd gyda **t a r**, tudal. 16.

Y llaw-arwydd am *fah* ydyw y llaw yn pwyntio yn gadarn tuag i lawr. Yr arwydd am *lah* ydyw y llaw yn hongian i lawr o'r garddwrn.

Ym. 87. CY. **A.** Effaith *Fah* uchel.

| d .$t_1$ :d .r | m :d | f :— ||

Ym. 88. CY. **A.** Effaith *Fah* uchel.

| d :m | $t_1$ :$s_1$ | f :f | m :— ||

Ym. 89. CY. **A.** Effaith *Fah* isel.

| d .$t_1$ :d .r | m :d | $f_1$ :— ||

Ym. 90. CY. **A.** Effaith *Fah* isel.

| d :$t_1$ .d | m .r :d | $f_1$ :$f_1$ | $s_1$ :— ||

Ym. 91. CY. **G.** Effaith *Lah* isel.

| d .r :m .$t_1$ | r :$l_1$ | d :$t_1$ | $l_1$ :— ||

Ym. 92. CY. **G.** Effaith *Lah* isel.

:$s_1$ | d :m :d | $l_1$ :— :$t_1$ | d :— ||

Ym. 93. CY. **D.** Effaith *Lah* uchel.

:d | m :s | t :l | l :— | d' ||

Ym. 94. CY. **D.** Eto.

| d :m | s :m | l :— | s :— ||

Ym. 95. CY. **A.** Effaith *Fah* a *Lah*.

| d :$s_1$ | m :d | $l_1$ :f | m :— ||

Ym. 96. CY. **D.** Eto.

| d :s | m :l | f :s | d :— ||

**Cyflymdra Ysgogiad ac Effaith Feddyliol.**—Hyd yma yr ydym wedi astudio effaith feddyliol seiniau pan yn cael eu canu yn araf. Bydded i'r dysgyblion ganu unrhyw ymarferiad yn cynwys *lah* a *fah* yn araf dros ben, a sylwi fel y mae eu heffeithiau meddyliol yn cael eu dwyn allan. Yna bydded iddynt solffeio yr un darn mor gyflym ag y medront, gan gadw yr amser, a sylwi ar y gwahaniaeth. Y mae *lah* a *fah* yn awr yn llon ac ysgafn, yn lle yn wylofus a brawychus, yn eu heffeithiau, ac y mae y seiniau ereill yn cyfnewid yn yr un modd. Bydded i'r dysgyblion dreio yn yr un modd unrhyw seiniau ereill, y rhai a ystyrir yn fwyaf nodweddiadol. Hwy ganfyddant drostynt eu hunain fod cyflymdra ysgogiad yn gwneyd y seiniau penderfynol (**d m s**) yn fywiocach yn eu heffaith, er parhau yn gedyrn, ac yn gwneyd y seiniau teimladol (**r f l t**) yn fwy bywiog ac ysgafn, ond yn eu gadael er hyny yn seiniau teimladol y raddfa. Y mae Handel yn ei ganiadau yn galw "i frwydr" yn benaf trwy ddefnyddio **d m s**, ond hefyd y mae yn defnyddio **d m s** yn gyflym iawn i ddangos chwerthiniad calonog ac ymollyngar. Ond y mae yn dangos chwerthiniad *teimladol* trwy ddefnyddio **t r f l** yn gyflym. Y mae yn dra hysbys hefyd pa mor effeithiol y mae ei ganiadau ef yn defnyddio y seiniau hyn yn eu dull araf a difrifol. Y mae Ym. 113 yn eglurhâd da ar **f a l** yn y ddwy wedd. Yn mesur 3, curiad 2, a mesur 4, curiad 2, y mae genym y *fah* gyflym yn ei hysbryd bywiog, ymollyngar. Yn mesur 5, curiadau 1 a 2, y mae genym y *fah* arafach yn ei heffaith fwy difrifol. Yn mesur 7, curiad 2, y mae genym y *lah* gyflym gyda'i theimlad bywiog. Yn y mesur ail olaf, y mae genym y *lah* isaf yn ei theimlad caruaidd, difrifol, a dwys.

**Y Raddfa.**—Yr ydym wedi astudio cyweirsain a'i chwe sain berthynasol. Y mae y saith sain, yn dal perthynas fel hyn â'u gilydd, yn cael eu galw yn raddfa. Y seiniau dilynol yn y raddfa wrth esgyn, o ran graddeg, ydynt **d r m f s l t d'**, wrth ddisgyn **d' t l s f m r d**. Rhaid i'r dysgybl bellach arfer ei hun i fyned dros seiniau y raddfa *yn eu trefn dilynol*. Y mae **d m s** yn hawdd eu dosbarthu, fel seinau penderfynol a chedyrn y raddfa, a **t r f l** fel rhai dibynol. O'r rhai olaf hyn **t a f** sydd yn meddu y duedd ddibynol neu *arweiniol* fwyaf, y **t** yn arwain i fyny i'r **d** a'r **f** i lawr i'r **m**. Cawn sylwi am gyfryngau y raddfa hon a'i chyfansoddiad cydgordiol yn y gris nesaf.

**d'**
*t*
*l*
**s**
*f*
**m**
*r*
**d**

**Y Raddfa Sefydlog o ran graddeg neu uchder.**—Hyd yma y mae yr athraw wedi taro y cyweirnod. Dylai y dysgyblion ddysgu ei wneyd bob un yn ei dro. Gellir cymeryd unrhyw sain fel cyweirnod, a bydd y perthynasau hyny o ran cord a graddfa, ag yr ydym eisoes wedi eu hefrydu, yn codi allan o hono. Ond yr ydys wedi cael allan ei fod yn beth cyfleus i gael un raddfa sefydlog o ran seiniau, wrth ba un y gellir mesur y lleill. I'r dyben hwn y mae sain neillduol a elwir y C ganol neu denor, a'r hon sydd yn sefyll yn uchel yn llais mab, ond isel mewn

llais merch, ac a gynyrchir gan linyn yn rhoi 256 o ddirgryniadau mewn eiliad, yn cael ei chymeryd fel safon, a gelwir y raddfa oddiwrthi yn "raddfa safonol," neu sefydlog. Yr ydym yn ei rhoddi ar yr ymyl. Rhoddir wythawd y sain yma $C^1$, (512 o ddirgryniadau) yn gyffredin gan seinffyrch i'r perwyl hwnw.

$C^1$ B A G F E D C

**Taro Tonau.**—Mae y dysgybl yn taro y seinfforch C, ac yn rhedeg i lawr at y sain sydd arno eisieu. Mae yn chwyddo y sain hono allan, ac yna yn ei hail-seinio ar y sill *doh*. Ar y cyntaf bydd yn help i'r cof i'r dysgybl gofio ei fod i spelio y geirian Seisnig "bag" a "fed" wrth redeg i lawr y raddfa fel hyn:

|d' :- |t :l |s :f |m :r |d :- ||
*C' B A G F E D C*

**Cofio C.**—Y mae yn haws sefydlu ar y cof *un* sain sefydlog nag a dybir yn gyffredin, ac y mae yn fantais fawr i fod yn alluog i wneyd hyny. Mae yr athraw yn *fynych* i ofyn i'r dysgybl swnio C (yr hyn gyda llais dyn sydd yn C mewn gwirionedd), ac yna y mae yn eu profi gyda'r seinfforch. Yn y dull hwn y mae y gallu i gofio yn cael ei gynyrchu yn fuan. Wrth farnu y tebygolrwydd o gofio yn gywir, pa fodd bynag, dylem bob amser ystyried fod pob iselder corff neu feddwl yn tueddu i fflatio hyd y nod ein cof.

**Dosbarthiad Lleisiau.**—Yn yr ymarferiadau canlynol nid ydyw y rhanau yn cael eu cadw o fewn cylch mor agos ag o'r blaen. Ni fydd yn bosibl yn awr i "gyfnewid rhanau." Y mae, o ganlyniad, yn angenrheidiol i'r athraw (naill ai ei hunan neu trwy ei gynorthwywyr,) i chwilio pob llais yn ei ddosbarth, a'u rhanu i leisiau uchel ac isel. Y mae lleisiau merched a phlant yn naturiol yn wythawd yn uwch na lleisiau dynion. Y mae y sain G yn sefyll tua chanol cylch lleisiau merched a phlant. Wrth chwilio y lleisiau hyn y mae yr athraw yn taro y sain yma fel cyweirsain, ac y mae yn gofyn i'r dysgyblion sol-ffeio, yn gyntaf i fynu, ac wedi hyny i lawr, oddiwrthi. Os bydd y seiniau llawnaf —mwyaf clir—a hawddaf eu cynyrchu, uwchlaw G, gellir rhestru y llais hwnw fel llais uchel. Os bydd y seiniau goreu islaw G, gellir ei alw yn llais isel. Gall amaethiad wneyd gwahaniaeth ar ol hyny, ond bydd y dosbarthiad syml hwn yn ateb ein dyben yn bresenol. Gelwir lleisiau uchel merched a phlant yn *Soprano*, a'r rhai isaf yn *Contralto*. Y mae y $G_1$, wythawd yn îs na'r olaf, yn gwasanaethu i ranu lleisiau y meibion yn yr un modd. *Ansawdd* neu natur y lleisiau uwchlaw ac islaw G neu $G_1$, nid cyrhaeddiad presenol y llais, sydd yn penderfynu y cwestiwn. Gelwir lleisiau uchaf meibion yn Tenor, a'r rhai isaf yn Bass.



**Mae Cylch Lleisiau** i fynu neu i lawr yn amrywio llawer, ac nid ydyw yn ddigon o brawf ar eu cymhwysder i'r "rhan" uchel neu isel yn y gerddoriaeth; ond y mae yn burion cofio fod cwmpas *hawdd* lleisiau yn gyffredin yn wythawd a haner. Y mae lleisiau Bass a Contralto yn gallu cyrhaedd *yn hawdd* —y naill o $G_2$ i C, y llall o $G_1$ i $C^1$. Mae lleisiau Tenor a Soprano yn gallu cyrhaedd yn hawdd—y naill o $C_1$ i F, a'r llall o C i $F^1$. Y mae amaethwyr y llais yn gyffredin yn rhoddi yr enwau Mezzo- (a seinir Metso) Soprano i leisiau sydd yn ymddangos fel rhwng Contralto a Soprano, a Baritone rhwng Bass a Tenor. Ond y mae y mwyaf dysgedig o honynt wedi cyrhaedd y casgliad fod lleisiau canol gwirioneddol yn bur brinion, ac nad yw y rhai sydd yn ymddangos felly ond lleisiau diamaethedig Tenor neu Contralto, a bod lleisiau uchel meibion, a lleisiau isel merched yn rhai mwyaf agored i gael eu hesgeuluso. Mae y daflen ar yr ymyl yn dangos cylch hawdd y gwahanol leisiau fel y rhoddir hwynt uchod. Mae y gwahaniaeth llythyren, ac argraffiad dwbl F E D, yn cael eu hegluro o dan y pen "Rhestrau," tudal. 35.

**Marciau Wythodol.**—Mae graddeg neu uchder *doh* yn cael ei gymeryd bob amser oddiwrth wythfed fo heb ei farcio o'r raddfa sefydlog, ac y mae y **d** hon gyda'r raddfa uwchlaw iddi heb farciau wythfedol. Ond i arbed lluosogiad afreidiol marciau wythodol wrth ysgrifenu ac argraffu, y mae rhanau y Tenor a'r Bass bob amser yn cael eu hysgrifenu wythawd yn uwch nag y maent mewn gwirionedd. Wrth son am neu ddarllen allan farciau wythodol, byddai yn burion gwahaniaethu y marciau wythodol uchaf trwy eu henwi o flaen y nodyn, a'r rhai isaf trwy eu henwi ar ol, fel hyn:—$D^2$ "dau-D"—$D_2$ "D-dau"—$G^3$ "tri-G"—$C_1$ "C-un," &c. Bydd yn help i'r cof i sylwi fod yr uchaf yn dyfod flaenaf. Felly yr ydym yn dyweyd fod cylch hawdd llais y Bass, fel

uchod, "o G-dau i C heb farc," fod y Contralto "o G-un i un-C," fod y Tenor "o C-un i F heb ei farcio," fod y Soprano "o C heb ei farcio i un-F."

**Enwi y Rhanau.**—Yn yr enwau ar donau y mae llythyrenau cyntaf y lleisiau yn cael eu defnyddio i'w dynodi fel hyn:—S am *Soprano*, C am *Contralto*, T am *Tenor*, a B am *Bass*.

**Anadlfanau.**—Nid ydyw yr anadlfanau yn cael eu nodi ar ol Ym. 112; ond os yw y marciau a roddwyd eisoes wedi cael eu hastudio yn ofalus, bydd y dysgyblion yn alluog i farcio yr anadlfanau eu hunain. Dylai y dosbarth wneyd hyn cyn i'r geiriau gael eu cyd-ddarllen, o dan arweiniad yr athraw, yr hwn a'u hadgofia yn fynych o'r egwyddorion a osodwyd i lawr ar tudal. 17. Gellir sylwi yn ychwanegol, os bydd ar un eisieu cymeryd anadliad o flaen curiad ysgafn, gellir cymeryd yr amser i hyny oddiar ddechreu y cyfryw guriad,—ei fod nid yn unig yn gyfleus ond yn angenrheidiol i gymeryd anadl da o flaen pob sain hir neu frawddegau hir cydgysylltiol. Wrth sol-ffeio neu *laio* dylid cymeryd anadl er mwyn y brawddegau. Bydd hyn yn arwain i efrydiaeth o'r adranau cerddorol. Ymddengys yr angenrheidrwydd am gymeryd anadl er mwyn "pwyslais" clir ac ysgafn yn y cyfryw ymarferiadau ag un 97, lle y mae purdeb y sain ar y d$^{1}$ cyntaf yn cael ei wella yn fawr trwy gymeryd anadl o'i flaen.

**Mynegiant** ydyw y cyfryw ddefnydd o'r *cryf* a'r *gwan* wrth ganu ag sydd yn gwneyd y gerddoriaeth yn fwy mynegiadol. Y mae y dysgyblion yn hoffi yr addurn yma ar y canu, hyd yn nod yn y grisiau cyntaf. Yn y pumed gris y mae y pwnc yn cael ei drin yn fwy helaeth. Digon yma ydyw galw sylw yn achlysurol at yr hyn sydd, yn wir, yn brif beth mewn mynegiant, sef yr hyn a awgrymir gan y geiriau. Yn ein llyfrau Tonic Sol-ffa, darfu i ni yn gynar fabwysiadu y cynllun o argraffu mewn llythyrenau gwahanol, i ddangos y gwahanol fathau o fynegiant. Yn gyntaf oll rhaid sefydlu y radd *ganol* neu gysefin o nerth llais ag a fyddo yn briodol i *deimlad cyffredin* y darn i gael ei ganu,—yna, pa eiriau bynag a argreffir yn y lythyren gyffredin, y maent i gael eu canu gyda'r nerth cyffredin hwnw o ran llais; pa eiriau bynag a argreffir mewn PRIF-LYTHYRENAU bychain, y maent i gael eu canu yn uwch; a pha eiriau bynag a genir mewn llythyrenau *Italaidd*, y maent i gael eu canu yn *wanach*. Wrth ysgrifenu, y mae un linell o dan gair yn dynodi llythyrenau Italaidd, a llinell ddwbl prif-lythyrenau. Gall yr efrydydd roddi y marciau hyn wrth ei gopi argraffedig yn hawdd. Yn Ym. 97 y mae teimlad cyffredin y geiriau yn dyner ac erfyniadol; o ganlyniad y mae y lythyren gyffredin yn dynodi canu gwan, ond yn y ddwy linell olaf y mae y teimlad o ddifrifoldeb yn codi i'w bwynt uchaf, ac yn galw am fwy o nerth llais. Teimlad cyffredin Ym. 100 sydd dyner ac ysgafn, ond dylai ddechreu yn *bur* dyner, gan gynyddu o ran nerth fel y mae y frawddeg yn codi. Y mae Ym. 101 ac 102 yn agor gyda brawddegau yn codi, ac i gael eu canu yn yr un ffordd. Y mae seiniau parhaol neu ail-adroddiadol, megys yn ail linell Ym. 103, ac yn Ym. 65, yn awgrymu yr un driniaeth. Sylwer fod pob ton fel Ym. 102 ac 103 yn gofyn arddull ysgafn a sionc, i gael eu canu yn *dyner*. Sylwer yn yr holl amgylchiadau hyn mor ddefnyddiol y mae'r gwahaniaeth hwn o gryf a gwan, wrth farcio allan yr adranau cerddorol, neu wrth "adranu."

Dylid dysgu Ym. 97 hyd at 103 yn awr yn yr un modd ag o'r blaen, oddigerth y dylai yr athraw o flaen pob ymarferiad roddi y lleisiau yn y cywair iawn, trwy ofyn i'r dysgyblion ganu, gan ddilyn ei law arwyddion ef ar gyfer cyweirnod isel **d, m, s,—f, l, d$^{1}$,—s, t, r,$^{1}$ d$^{1}$,**—ac ar gyfer cyweirnod canol, **d, $s_1$, m, d,—$f_1$, $l_1$, d,—$s_1$, $t_1$, r, d.**

## O TYR'D I BEN.

Ym. 97. cy. C. *Mainzer.*

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :s | s :s | d$^{1}$ :t | l :l | s :l | f :s | m :d$^{1}$ | t :l | s |
| 1. O | tyr'd i | bent dded- | wydd-af | ddydd, A | gâd i'm | hys - bryd | †fyn'd yn | rhydd. |
| 2. Fel | gall - wyf | rhod-†io'n | ddi - nac - | âd Dan | aw - el | hyf - ryd | †rin y | gwaed. |
| :m | m :m | d :r | f :f | m :d | r :$t_1$ | d :m | r :d | $t_1$ |
| 3. Ac | na bo | grast o | fewn y | nef, Na | chaff - wyf | rant o | hon - o | ef. |
| 4. Fy | lloch - est | a fy | nodd - fa | glyd, Fo | ed - rycht | ar dy | wy - neb - | pryd. |

*Cyf. Saf. (New.)*

| :s | s :s \|d' :t | l :l \|s :s | l :t \|d' :m'.r' | d :t \|d' |
|---|---|---|---|---|
| Rho | brawf, rho brawf†ar | frys i mi, O | ddwy-fol †haedd-iant | Cal - far - i. |
| A | threul-io'm am - ser† | ddydd a nos, Mewn | myf - yr †am dy | ang - au loes. |
| :s | f :f \|m :s | l :f \|m :m | f :r \|m :f.f | s :-.f \|m |
| A | gwna na bydd - o† | gen - yf flas, Ond | yn dy gar - iad | a dy ras. |
| A'M | HAM - SER EL - O† | HEIB-IO'N LLAWN, WRTH | GANU I'TH EN - W | FORE A NAWN. |

## CHWI LAFURWYR DEWR A GONEST.

Ym. 98. cy. G. * Ton gron i ddwy ran. Y geiriau gan E. R. Cyf.

| d :m \|s :s | l :s \|f :m | f :m \|r :d | t₁ :d \|r : |
|---|---|---|---|
| Chwi laf - ur wyr | †dewr a go - nest, | Chwi sy'n cod - i | gyd - a'r wawr, |
| Peid - iwch cwyn-o | †os lla - fur - iwch, | Gor - phwys hyf - ryd | wed - i'n ddaw, |

D.C.

| s :-.f \|f :-.f | m :-.m \|r :r | d :s₁ \|l₁ :t₁ | d :— \|— :— |
|---|---|---|---|
| Can - wch bell - ach | †gyd - a'ch gil - ydd | Dar - fu'ch gwaith†yn | awr. |
| Ni wnaed da er- | ioed hyd ym - a | Heb y pen a'r | llaw. |

## DYWEYD MAE COED Y MEUSYDD.

Ym. 99. cy. F. Ton gron i ddwy ran. Y geiriau gan E. R.

| d :r \|m :f | f :— \|m : | m :f \|s :l | t :— \|d' : |
|---|---|---|---|
| D'weyd mae coed y | meus - ydd, | D'weyd mae blo - dau'r | dol - ydd, |

D.C.

| d' :l \|s :f | f :— \|m :s | l :f \|s :t₁ | t₁ :— \|d : |
|---|---|---|---|
| D'weyd mae nef a | llawr, Fod | 'rHwn a'u gwnaeth | yn fawr. |

## CWSG FY MHLENTYN BACH.

Ym. 100. cy. D. * Ton gron i ddwy ran. †

| d.r:m.f\|s :— | d' :d' \|t :— | l :l \|s :— | f :f \|m :m |
|---|---|---|---|
| *Cwsg fy mhlentyn* bach, | blen - tyn bach, | blen - tyn bach, | Cwsg ar dy - ner |

| r :r \|d : | f :f \|m :— | l :l \|s :— |
|---|---|---|
| lin dy fam, | blen - tyn bach, | blen - tyn bach, |

D.C.

| f :f \|m :m | r :r \|d :— | : \| : |
|---|---|---|
| Cwsg yn es - mwyth | blen - tyn bach. | |

*Cyf. Saf. (New.)*

## DOH, RAY, ME.

Ym. 101. CY. G. Ton gron i bedair rhan.

| d :— \| — :— | r :— \| — :— | *m :— \| — :— | f :— \| — :— |
|---|---|---|---|
| *Doh,* | Ray, | Me, | FAH, |

| s :s \| l :s | †f :f \| s :f | m :m \| f :m | †r :r \| m :r ‖ D. C. |
|---|---|---|---|
| Cod - wch oll eich | PEN - AU FYN - Y | Pan y bydd - wch | chwi yn can - u. |

## PWY SY'N DOD DAN CHWERTHIN?

Ym. 102. CY. E♭ Ton gron i dair rhan.

| d :d \| r :r | m :m \| †f :f | s :d' \| s :m | †r :d .r \| m :— |
|---|---|---|---|
| *Pwy sy'n dod dan* | *chwer-thin,* chwer-thin, | Pwy sy'n chwer-thin | ym - a'n awr, |

| *m :m \| f :f | †s .s : s .s \| s .f : m .r | d :s \| m :d | †s, :s, \| d :— |
|---|---|---|---|
| *Ni sy'n chwer-thin* | Ha,ha,ha,ha,ha,ha,ha,ha, | Ni sy'n chwer-thin | ym - a'n awr. |

| s .s : s .s \| s .f : m .r | †d .d : d .d \| r .r : r .r | m .m : m .m \| †s .s : s .s | s .f : m .r \| d :— D.C. |
|---|---|---|---|
| Ha,ha,ha,ha,ha,ha,ha,ha, | *Ha, ha, ha, ha, ha, ha, ha, ha,* | *Ha, ha, ha, ha,* ha,ha,ha,ha, | Ha,ha,ha,ha,ha. |

## DOWCH, DOWCH I GYD.

Ym. 103. CY. A. Ton gron i bedair rhan.

| d :r :t, | d :— : | *m :f :r | m :— : |
|---|---|---|---|
| *Dowch, dowch i* | *gyd,* | *Can - wn yn* | *nghyd,* |

| s :s :s | s :f .m :r .d | s, :s, :s, | d :— : ‖ D. C. |
|---|---|---|---|
| La, la, LA, | LA, la, la, *la, la,* | Oll o UN - | FRYD. |

**Rhestrau.**—Yn rhan uchaf cwmpas lleisiau meibion, ac yn rhan isaf cwmpas lleisiau merched, gellir canfod cyfnewidiad hynod yn natur y seiniau. Gelwir y lle y mae y cyfnewidiad hwn yn cymeryd lle "y toriad mawr." Y mae rhwng F a G yn mhob llais. Mae y toriad yn codi oddiar y dull gwahanol y mae y seiniau yn cael eu cynyrchu gan y *larynx.* Mae y seiniau islaw y toriad yn cael eu cynyrchu gan yr hyn y gellir ei alw yn rhestr gyntaf neu dew y llais, a'r rai uwchlaw y toriad gan yr ail restr, neu yr un deneu. Y mae rhestr uwch eto yn lleisiau merched, yn dechreu gyda g', yr hon a allwn ei galw yn drydedd neu y rhestr fechan. Dangosir y rhestrau hyn ar tudal. 31, y rhestr "dew" gan brif lythyrenau mawrion, yr un "deneu" gan y prif lythyrenau bychain arferol, a'r un "fechan" gan lythyrenau cyffredin.*

*Cyf. Saf. (New.)*

**Seiniau Dewisiadol.**—Er fod y rhestrau isaf yn rhai nas gellir eu gorfodi tuag i fynu, yn uwch na'r terfynau a nodwyd, heb niweidio y llais, gellir defnyddio y rhestrau uchaf i ryw fesur islaw eu terfyn priodol. Yn gymaint felly gyda'r rhestr deneu, fel y gelwir y seiniau F, E, a D yn seiniau dewisiadol, a chyngorir y dysgybl i arfer ei lais fel ag i gyfartalu ansawdd a gallu y tair sain hyn, ac i arfer y naill a'r llall o'r rhestrau hyn yn olynol. Yn lleisiau merched y rhestr dew yma yn y gwaelod sydd yn gyffredin yn cael ei hesgeuluso, ac yn

* Mae prif-lythyrenau Italaidd yn dangos y rhestrau *uchaf*, tew a theneu.

lleisiau meibion y rhestr deneu yn y top sydd yn gyffredin heb ei hamaethu.

**Adnabod yr Ail Restr, neu yr un Deneu.**—Fe ganfyddir oddiwrth y raddfa, tudal. 31, fod merched yn defnyddio y rhestr yma yn nghanol eu lleisiau, ac nad oes dim anhawsder i'w hadnabod,—yn mysg y meibion nad oes ar y Basswyr ond ychydig o angen am dano, oddigerth i ganu unawdiau, neu rhyw ddarnau yn gofyn cwmpas anghyffredin yn y llais,—ond fod ar y Tenorwyr angen am amaethiad gofalus o'r rhestr yma, ac o'r seiniau dewisiadol. Gellir sylwi hefyd fod y rhai sydd yn canu Contralto yn gofyn am amaethiad neillduol o'r rhestr gyntaf neu dew, ond oedir hyny hyd y gris nesaf. Er mwyn galluogi meibion i gael allan ac adnabod y rhestr deneu, y mae yr athraw yn gofyn iddynt gymeryd rhyw sain isel am *doh*, yr hon sydd yn siwr o fod o fewn y rhestr dew (C dyweder), ac yna y mae yn eu harwain trwy y llaw-arwyddion i ganu y cord yn araf, fel hyn, **d m s**. Os caniatâ efe iddynt ganu y *soh* yn dyner, cynyrchent ef megys yn reddfol yn y rhestr deneu. Ar ol unwaith gael gafael ar y rhestr hono, ni fydd yn anhawdd iddynt barhau yr un math sain mewn brawddeg ddisgynol fel yr un a ganlyn, **s f m r d**. Ar ol cael y *doh* yn y rhestr deneu, gallant wedi hyny gymeryd anadl, a'i ganu drachefn yn yr un dew. Wrth gwrs, gall y dysgyblion gymeryd $A_1$ neu $G_1$ yn gyweirnod. Bydd raid iddynt y pryd hwnw ddilyn y llaw-arwyddion fel hyn, **d m s $d^1$**;—tarewir $d^1$ yn ysgafn yn y rhestr denau, a byddai y frawddeg ddisgynol yn yr un rhestr yn **$d^1$ t l s f m r d**. Gwell fyddai i holl leisiau y meibion fyned trwy y prawf hwn.

**Cryfhau y Restr Deneu.**—Y mae ymarferiad—ymarferiad cyson—yn cryfhau seiniau y rhestr yma, fel ag i beri iddynt ymdoddi yn hawdd i seiniau y rhestr gryfach. Fel pob ymarferiad a fwriedir i gryfhau y cyhyrau, rhaid fod rhyw gymaint o orfodiad neu drais ynddo, ysgytiad penodol ar y glotis (gwel tudal. 1), ond ni ddylid ei wneyd yn ormodol. Y mae rhedeg yn well, i gryfhau y coesau, na cherdded, ond y mae egniad *gormodol* yn gwneyd mwy o niwed nag o ddaioni. Dyma paham y mae yn angenrheidiol yn yr ymarferiad canlynol i ddefnyddio y sill ysgydwol neu rymusol *cw*. Fe gofir fod cyfuniad newydd ar gyhyrau tyner y *larynx* yn angenrheidiol am bob sain posibl y mae yn ei gynyrchu, a bod yn rhaid i'r holl gyhyrau a chyfuniadau hyn gael eu hymarfer. O herwydd hyn y mae yn angenrheidiol myned trwy yr ymarferiad hwn mewn cyweirnodau gwahanol, fel ag i ddwyn seiniau cyfryngol i'r chwareu. Dylid yn gyntaf sol-ffeio Ym. 104 gyda'r llaw-arwyddion; yna canu ar *cw* bump neu ychwaneg o weithiau, yn llawer mwy cyflym ac egniol; yn drydydd, ei sol-ffeio drachefn. Wrth ei sol-ffeio yr ail waith, ceir y bydd ansawdd y sain wedi ei wella yn fawr. Ond dylid cymeryd gofal i beidio blino y lleisiau. Bydd canu *cw* bump o weithiau ar y dechreu yn ddigon, a dylid cael gorphwys cyn i'r ymarferiad gael ei ddefnyddio mewn cyweirnod arall. Bydd y cyweirnod cyntaf a'r ail yn ddigon o faich yn y dechreu. Mae y cyweirnodau wedi eu trefnu yn y fath fodd fel y gall yr athraw, heb ddefnyddio seinfforch, basio o'r naill i'r llall. Er engraifft, ar ol ymarferyd yn nghyweirnod B, y mae yn taro *ray*, yn ei galw yn *doh*, yn taro y cord, ac yn myned yn mlaen gyda'r ymarferiad drachefn. Ar ol defnyddio fel hyn, yr hyn a elwir yn gyweirnod C lon, y mae yn taro *te*, yn ei galw yn *doh*, yn taro y cord, ac yn myned yn mlaen gyda'r ymarferiad yn nghyweirnod C. Yn yr un modd bydd *ray* C yn rhoddi iddo gyweirnod D. Dylid myned trwy yr ymarferiad hwn am ychydig bach o amser yn mhob gwers ddilynol yn y gris yma. Os bydd y dosbarth yn un cymysg dylai y merched ymuno yn yr ymarferiad, yr hwn sydd o fewn cwmpas isaf eu lleisiau, ac yn hawdd iddynt. Byddant yn gefnogaeth i leisiau y meibion, ac yn parotoi eu hunain ar gyfer ymdoddiad y rhestrau tew a theneu yn y gris nesaf.

Ym. **104**. I gryfhau yr ail Restr. I'w ganu yn rhan uchaf lleisiau meibion, a rhan isaf lleisiau merched.

CY. B, C♯, C, D.

{ :s | m :f | r :m | d :r | $t_1$ :— | d ‖

**AMSER.**

**Y Metronome** (a seinir *metrònôm*) sydd offeryn i reoleiddio cyflymdra ysgogiad mewn darn o gerddoriaeth. Pendyl ydyw a ellir ei wneyd i ysgogi o ochr i ochr gyda chyflymdra gwahanol. Pan osodir M. 60 yn nechreu ton yn nodiant y Tonic Sol-ffa, y meddwl yw, "Bydded i *guriadau* y don hon symud gyda'r cyflymdra o 60 yn y fynyd." *Ergyd* y metronome ydyw y foment y bydd yn pasio pwynt isaf y darn cylch. Gyda'r mesur chwechuriad, pan y mae yn bur gyflym, mae y cyflymdra yn ol y metronome yn cael ei wneyd i gyfateb

nid â churiadau ond â haner mesurau—"curo ddwywaith i'r mesur."

**Cadw Cyflymdra yr Ysgogiad.**—Pan y bwriedir canu ton ar luaws o benillion, megys gyda salmdon, gall y cantorion amrywio y cyflymdra yn ol ystyr y geiriau; ac mewn caneuon syml, gellir weithiau gyflymu neu arafu y cyflymdra i gyfateb i'r teimlad. Ond y mae'r gallu hwn i *amrywio* y cyflymdra, gydag unrhyw effaith dda, yn dybynu ar y gallu a enillwyd yn flaenorol i *gadw* y cyflymdra yn rheolaidd. Y mae ymarferiadau er amaethu a phrofi y gallu hwn yn cael eu dwyn i mewn yn *fynych*. Mae yr athraw i beri i'w ddysgyblion i tate-io ar un sain fesur syml fel hyn, TRA-E TA-E TLA-E TA-E, gan ei fynychu yn gywir chwe gwaith *gyda'r* metronome, fel ag i gael gafael ar yr ysgogiad. Yna y mae yn ystopio y metronome, ac y maent hwy i ddal y mydr am chwe mesur ychwanegol. Ar darawiad y curiad cyntaf yn y mesur nesaf, y mae yn gadael i'r metronome ysgogi, ac yna y mae y dosbarth yn gweled yn hawdd a ydynt wedi cadw y cyflymdra priodol. Y mae cerddorion medrus yn dyweyd fod y gallu hwn i gadw ysgogiad rheolaidd yn un o'r elfenau cerddorol cyntaf a mwyaf pwysig. Y mae yr ysgogiag afreolaidd ac amrywiol hwnw, heb fod unrhyw esgus drosto ar dir mynegiant, yr hyn y mae llawer organydd ac arweinydd canu yn euog o hono, yn dra phoenus i glustiau amaethedig.

**Cofio M. 60.**—Y mae yn beth cyffredin iawn fod Tonic Sol-ffawyr yn alluog, trwy arferiad, i ffurfio syniad yn eu meddyliau eu hunain am gyflymdra ysgogiad a roddir yn nechreu ton heb gyfeirio at y metronome. Enillir y medr hwn trwy yn gyntaf sefydlu yn y meddwl gyflymdra M. 60, fel safon cymhariaeth. Yna y mae yn hawdd synied am ysgogiad dwywaith mwy cyflym, M. 120, a haner mwy cyflym, M. 90. Gellir cofio cyflymderau ereill gyda llawer iawn o gywirdeb. I *sefydlu* M. 60 yn y meddwl, y mae yr athraw i ofyn *yn fynych* i'w ddysgyblion i ddechreu tate-io yn ol yr hyn a farnant fydd y cyflymdra hwnw, ac yna y mae yn eu profi gyda'r metronome. Y mae'r gallu i gofio cyflymdra ysgogiad, fel y gallu i gofio graddeg seiniau, yn dybynu i fesur ar dymheredd y corff ac ansawdd y meddwl. Ond gellir gorchfygu yr anhawsderau hyn, fel na fydd i iselder o un math beri i ni ganu yn rhy araf.

Mae yr **haner curiad distaw** yn cael ei ddynodi trwy absenoldeb unrhyw nodyn rhwng y dot sydd yn rhanu y curiad yn ddau a marc yr aceniad. Gelwir ef yn SA ar y rhan aceniadol, ac yn SE ar y rhan ddiacen o'r curiad. Gwel Ym. 105, 106, 107.

Mae y **sain tri chwarter curiad** yn cael ei dangos trwy fod atalnod yn cael ei osod yn agos at ddot, gan adael chwarter i lenwi y curiad. Gelwir ef yn TAeffe. Gydag aceniad ysgafnach, ac ysgogiad cyflymach, y mae TAeffe yr un peth a TA-E-A-TE. Ac y mae hyn yr un peth yn fychan ag ydyw TA-E-A-E-A-E-TA-E. Mae yr athraw yn peri fod y fath ymarferiad a 71 yn cael ei ganu yn ysgafn a chyflym.

**Dau chwarter a haner** a ddynodir trwy ddefnyddio yr atalnod a'r dot fel y gwelir isod, Ym. 106. Gelwir y ffurf yma ar y curiad yn taffaTE. Y mae yr un peth o ran ei natur â'r ffurfiau mwy aceniadol a phendant, TATE TA-E, a TA-E TA-E TA-E-A-E. Mae yr athraw i beri fod y fath ymarferiadau a 72 i gael eu canu yn gyflym.

**Haner a dau chwarter** a ddynodir fel y gwelir isod, Ym. 107, ac a elwir yn TAteffe. Mae y ffurf yma ar y curiad yr un o ran natur a TA-E TATE, a TA-E-A-E TA-E TA-E. Gwel Ym. 75.

**Tor-aceniad, neu Rag-aceniad**, ydyw cymeryd aceniad cyn yr amser. Y mae yn gofyn fod yr acen yn cael ei daro cyn iddo ddyfod yn rheolaidd, gan newid curiad *gwan* neu y rhan wan o guriad i un *cryf*, a'r curiad neu ran o guriad fyddo yn *dilyn* i un *gwan*. Mae ei effaith mewn amser yn gyffelyb i anghydsain mewn seinyddiaeth. Y mae yn croesi yr hyn sydd yn gyffredin, ac yn cael ei ddysgwyl. Dylid taro yr anghydsain a'r tor-aceniad yn wrol, a'u dal yn gryf gan y llais—yn gymhwys fel yr ymafler yn y danadl poethion i'w meistroli. Y mae darnodiadau anmherffaith o dor-aceniad wedi arwain llawer o gantorion i daro yr aceniad newydd mae'n wir, ond hefyd i gadw yr aceniad cryf gwreiddiol. Mae y camddealltwriaeth yma yn llwyr ddinystrio yr effaith a fwriedid ei gynyrchu. Yn Ym. 108 mae y linell gyntaf yn dangos fel y mae tor-aceniadau yn cael eu hysgrifenu yn gyffredin, ac y mae yr ail linell yn dangos y gwir gyfnewidiad yn yr aceniad y maent yn ei gynyrchu, a'r modd y dylent gael eu canu. Mae yr R yn ein henwau ni ar amser yn helpu yr eglurhad hwn. Sylwer fod yn anhawdd "curo y mesur" yn y dull arferol (gwel rhagymadrodd) pan y mae tor-aceniadau yn dygwydd, gan eu bod fel yn gwrthddyweyd y curo. Haws ydyw curo bob yn guriad.

Dylid dysgu Ym. 105 i 109 fel uchod, tudal. 8, 9, a 20, yn enwedig gyda chadw amser ar *lah*, tudal. 9.

Ymarferiad 105. *Araf—a chyflym.*

```
|1   .1   :   .1  |1   .1   :       |1   .1   :1   .   |1   .1   :1   .   ||
 TATE       SATE   TATE     SHA-E    TATE       TASE    TATE       TASE
```

CY. F.

```
|m.r : .d|r .d :   |s .f : m.   |m.r : d.   ||
```

CY. G.

```
|s,.d : .t,|d .m :   |f .r : t,.   |s .m : d.   ||
```

CY. F.

```
|s.m : .l|s .m :   |s .f : r.   |f .m : d.   ||
```

CY. F.

```
|m.s : .s|f .l :   |f .r : f.   |m .d : m.   ||
```

Ymarferiad 106. *Araf—a chyflym.*

```
|1 .1,1  :1   .1  |   .1   :1    |1,1 .1   :1   .1  |1   .   :1    ||
 TAteffe   TATE       SATE   TA-E    taffATE    TATE     TASE    TA-E
```

CY. G.

```
|d.r,m : d .s,|  .l, : t,   |d,r.m : f .m |r.   :d   ||
```

CY. F.

```
|s.f,m : r .m |  .f :m   |m,r.d : t,.d |m.   :r   ||
```

CY. G.

```
|m.f,s : m .d |  .f :r   |m,s.f : m.d |t,.   :d   ||
```

CY. C.

```
|s.l,t : d'.s |  .l :s   |l,t.d : t .s |f.   :m   ||
```

Ymarferiad 107. *Yn araf—a chyflym.*

```
|1   .1,1 : 1   .,1  |1,1 .1,1 : 1      |1   .,1  : 1   .,1  |1   .1   : 1   .1   ||
 TAteffe    TAeffe    taffateffe   TA-E   TAeffe      TA-effe    TATE       TATE
```

CY. D.

```
|d .r,m : f .,m|r,m.f,s : l   |s .,f : m .,r|s .f :m .r ||
```

CY. D.

```
|m .f,s : l .,t|d',l.s,m : r   |d .,m : r .,f|m .s :f .l ||
```

CY. F.

```
|s .f,m : r .,d|t,,d.r,m : f   |l .,f : s .,m|l .f :s .m ||
```

CY. F.

```
|s .m,d : s .,d|s,f.m,r : m   |r .,f : m .,d|f .l :s .m ||
```

Ymarferiad 108. *Yn araf—a chyflym.*

```
                    >                                  >
|1    :1    |1    :1         |—   :1    |1    :1          |—    :—    |1    :1    ||
 TA-E  TA-E  TA-E   TRA-E - A-E    TA-E  TA-E   TRA-E - A-E - A-E    TA-E   TA-E
|1    :1    |1    |1    :—    :1    |1    |1    :—    :—    |1    :1    ||
```

Ymarferiad 109. *Yn araf—a chyflym.*

```
                                          >           >
|1    :1    |1    :1    |1 .1 : 1 .1  |1 .1 : -.1  |-.1 : 1.1  |1    :1    ||
 TA-E  TA-E  TA-E  TA-E  TATE   TATE   TATEE - A  TRE - A  TE  TATE  TA-E  TA-E
```

Treithganu neu Salm-ganu ydyw datganu geiriau ar un sain, gyda therfyniad neu ddiweddeb. Mae y dreithgan Seisnig, yr hon a elwir yn *Anglican Chant*, yn meddu ar *ddwy* o seiniau datganiadol gyda diweddebau, pryd y mae yn cael ei galw yn dreithgan sengl, neu *bedair* o seiniau datganiadol

*Cyf. Saf. (New.)*

gyda diweddebau, pryd y gelwir hi yn dreithgan ddwbl. Y rheol fwyaf pwysig mewn perthynas i dreithganu ydyw y dylid dysgu allan y gerddoriaeth yn berffaith cyn ceisio canu ar y geiriau. Treithgenir yn fwyaf cyffredin a phriodol mewn rhyddiaith (gwel y gris nesaf), ond nid ydyw treithganu hymnau allan o le pan y mae yr hymnau yn bur faith. Y mae hefyd yn ymarferiad da yn rhagddarpariadol i'r gelfyddyd o ddatganu mewn rhyddiaith. Mae y mydrau mor syml, ac yn caniatau mor lleied o amrywiaeth, fel y gellir talu sylw yn hollol yn mron i adroddiad clir a chywir o'r geiriau.

**Rhenir y geiriau wrth dreithganu** yn gyffredin yn unig trwy roddi bar sengl lle y mae y diweddeb yn dechreu, a bar dwbl lle y mae yn terfynu. Yn ychwanegol at hyn, y mae llawer dyfais wedi cael ei gwneyd er rheoleiddio y dull o ddatganu fel ag i gadw anadl-fanau priodol, ac i atal dyryswch. Mae ein haddysgiadau Tonic Sol-ffäyddol ni yn naturiol yn awgrymu rhaniad y cyfan i guriadau. Ein rheol syml ni yw fod y sillau hyny sydd yn *sefyll gyda'u gilydd*—pa un a unir hwynt gan gyplysnodau ai peidio—i gael eu canu ar un curiad,—fod y marc ' o flaen sill yn dynodi distawrwydd ar haner cyntaf curiad, a lle cyfleus i anadlu,—fod y marc . yn dynodi curiad distaw, a hwn — parhad sain. Yn Ym. 85, sylwer ar y mydrau i'r datganiadau byrion *SA*-E TATE bedair gwaith, TATE TATE unwaith, a *SA*TE TATE TATE unwaith, a'r mydrau ar ddatganiadau hwy. Astudier y gwahanol fydrau hyn, a'r rhesymau dros y gwahaniaeth yn eu ffurfiau mydryddol. Paham na wna un ffurf y tro am yr holl dreithiadau byrion, ac un arall am yr holl rai hirion? Y mae o bwys i sylwi fod curiadau y diweddeb a'r treithiad yn symud gyda'r un cyflymder, er ei bod yn arferol ac yn naturiol hefyd i roddi mwy o sillau yn mhob curiad yn y treithiad nag yn y diweddeb.

**Wrth ddysgu treithganu** mae yr athraw yn dysgu ei ddysgyblion (*a*) i *tate-io* llinell yn ol cynllun neu batrwm, (*b*) i'w adrodd allan yn ol cynllun, ac (*c*) i ganu ar y dreithgan a ddysgwyd allan.

Ym. **110**. Treithganer y geiriau ar Ym. 85 ac 86.

**Cydseiniau newyddion.**—Hyd yma y trydyddau, y chwechfedau, y pumedau a'r pedweryddau fu genym (gwel tudal. 23) oeddynt

| **m s t r'** | A | **s r'** |
|---|---|---|
| **d m s t** | | **d s** |

*Cyf. Saf.* (*New.*)

Yn awr fe ychwanegir

| **l d' f** | A | **d' l s** |
|---|---|---|
| **f l r** | | **f m l** |

Mae yr efrydydd mewn cynghanedd i chwilio am a *marcio* engreifftiau o bob cydsain newydd, ac i wrando arnynt tra y mae y gerddoriaeth yn cael ei chanu.

**Yr Anghydsain Ranol.**—Nid yw y cyfrwng hynod ar y raddfa **f** i **t** gyda'i wrthddull **f** i **$t_1$** yn anghydsain yn ol y desgrifiad ar tudal. 23. Ond y mae ei effaith ar y glust yn rhwystro iddo gael ei alw yn gydsain. Y mae y glust yn gofyn am orphwysiad a melusder ar ei ol, ac o ganlyniad y mae yn dysgwyl i **f** fyned i **m** a **$t_1$** i **d**. Yr ydym yn ei galw yn anghydsain ranol. Edrycher a gwrandawer ar Ym. 116, *ll* 4, *m* 1, *c* 4. —NODIAD.—Y mae *ll* yn arwyddo *llinell*, *m* yn arwyddo *mesur*, a *c curiad*,—Ym. 19, *ll* 1, *m* 4, *c* 4. Ond y mae effaith yr anghydsain ranol yn cael ei dangos yn niweddebau Ym. 99.

**Anghyseiniau Newyddion.**—Nid ydym hyd yma wedi efrydu (gwel tudal. 23) ond *un* anghydsain, **d** yn erbyn **r**. Y mae yn *gynllun* o'r anghydseiniau hyny sydd yn cymeryd lle ar y curiad *cryf*, ac yn cael eu "parotoi" yn rheolaidd, a'u "hadferu." Y mae genym yn awr anghydseiniau ereill o'r un natur. Yn Ym. 114, yn ychwanegol at **d** yn erbyn **r**, yn *m* 3 a 6, y mae genym **s** yn erbyn **l** yn *m* 4, a **f** yn erbyn **s** yn *m* 2. Yn Ym. 116, yn ychwanegol at y **d** yn erbyn **r**, *ll* 5, *m* 1, y mae genym yr un anghydsain, gyda'r adferiad yn cael ei *oedi*, *ll* 4, *m* 1, a **m** yn erbyn **f** gyda'r adferiad yn cael ei rwystro, y cydsain **l** yn rhwystro adferiad **m** ar **r**, a'r **f** yn erbyn **s** yn *ll* 1, *m* 2.

**f yn erbyn s.**—Er fod yr anghydsain hon yn cael ei harfer ar y curiad *cryf*, a chyda'r un fath adferiad ag uchod, y mae yn cael ei harfer yn llawer iawn mwy mynych ar y curiad *gwan*, ac yn fynych heb un math o baratoad. Y ffurf fwyaf dewisol ganddi o barotoad melodaidd ydyw pan y mae y **f** yn dyfod i lawr bob yn gam o **s**, ac yn myned yn mlaen, fel y mae yn rhaid iddi bob amser, i **m**. Edrycher a gwrandawer ar Ym. 97, *ll* 2, *m* 2, *c* 2, Ym. 111, *m* 7, *c* 1, lle y mae **f** heb ei pharotoi, a'r adferiad yn cael ei rwystro, ac Ym. 118, *m* 5, *c* 2.

Yr anghydsain hon o f yn erbyn s ydyw cynllun anhydseiniau heb eu parotoi.

**Symudiad perthynasol y rhanau.**—Gall dwy ran symud i fynu neu i lawr ar yr un pryd. Gelwir y symudiad hwn yn symudiad *cyffelyb*, ac y mae yn gyffredin yn felus a hyfryd, megys yn Ym. 97, *m 5*, ac yn Ym. 99, pan y mae y ddau fesur cyntaf yn cael eu canu gyda'r ail ddau. Gall dwy ran symud i fynu ac i lawr mewn cyfeiriadau gwahanol. Gelwir hwn yn ysgogiad gwrthwynebol, ac y mae yn dra dymunol i'r glust. Gweler a gwrandawer ar Ym. 97, curiadau 3 hyd 6, a 9 hyd 12, ac Ym. 69, pan y mae y trydydd a'r pedwerydd mesur yn cael eu canu gyda'r pumed a'r chweched. Yn yr amgylchiad olaf, y mae y rhanau, mewn gwirionedd, yn croesi eu gilydd. Mae croesiad y rhanau yn beth cyffredin mewn tonau crynion, ond nid mewn cyfansoddiadau ereill. Y mae pob peth sydd a thuedd ynddo i beri i'r naill ran ymddyrysu yn y llall yn cael ei wrthwynebu mewn cerddoriaeth ddiweddar. Symudiad *gwyrol* ydyw hwnw pan y mae un rhan yn sefyll, hyny yw, yn parhau yr un swn, tra mae y llall yn symud i fynu neu i lawr. Gwel Ym. 117, *m* 6, 7, ac Ym. 97, dechreu llinell 2. Y mae llawer iawn o'r symudiad perthynasol hwn yn y rhanau, nas gellir ei ddesgrifio trwy y termau syml hyn. Ni foddlonir y glust ag un math o symudiad perthynasol yn unig. Y mae yn gofyn amrywiaeth; ond yr hyn sydd yn boddloni y glust hwyaf ydyw ysgogiad unfath neu *gyffelyb*.

**Efelychiad.**—Nis gall yr efrydydd cerddorol lai na sylwi fod pob math o efelychiad yn hyfryd i'r glust. Y mae yn help mawr i'r canwr i sylwi ar yr engreifftiau o hyn. Y mae efelychiadau yn nghodiad a disgyniad y felodedd, neu *ffigiwr melodaidd*, megys yr un syml yn Ym. 70, *ll* 2, lle y mae priflais yr ail fesur yn efelychu, mewn ffigiwr, priflais yr un cyntaf,—neu hwnw yn Ym. 98, rhwng dwy ran agoriad llinell 2,—neu y rhai yn Ym. 101, *ll* 3, yn hawdd eu canfod. Y mae yr efelychiadau yn Ym. 116 yn ddyddorol. Yn y dechreu, y mae yr ail ran yn cael ei hefelychu gan y gyntaf, am fesur a haner, gan gychwyn ar *bumed* uwchlaw. Yn yr ail linell y mae cerddoriaeth "mae yn ei dwyn" yn cael ei ateb, ar bumed uwchlaw, gan y gerddoriaeth ar "calon dyn;" yna y mae yr ail yn ail-adrodd "mae yn ei dwyn" ar gam bychan yn uwch, ac yn cael ei ateb drachefn gan y priflais, ar bumed yn uwch. Bydded i'r efrydydd wirio sylwadau fel hyn yn ofalus; trwy hyny fe'i dysgir i weled mwy mewn darn o gerddoriaeth nag y mae ereill yn ei weled. Pan y mae yr efelychiad mewn dwy neu ychwaneg o ranau yr un amser, megys yn Ym. 97, curiadau 9, 10, ac 11, 12, gelwir ef yn *olyniad* cynghaneddol. Y mae efrydiaeth efelychiad *mydryddol* yn dra dyddorol. Gwelir yn Ym. 113, *ll* 2, taffATE taffATE TA-E yn cael ei ateb yn gyflym gan yr un mydr gyda symudiad gwrthwynebol. Gweler TA-E TATE TA-E yn Ym. 116. Chwilier am engreifftiau ereill.

Bydd y "**Mydrau Elfenol**" yn cynwys darnau wedi eu dethol o ganeuon poblogaidd, ac wedi eu cyhoeddi ar wahan, yn awr yn efrydiaeth dda gartref, ac yn baratoad ar gyfer y dystysgrif elfenol.

**Rhydd-ymarferiadau ar La.**—Unwaith y byddo defnydd y sillau sol-ffayddol wedi eu gosod yn y glust, ac wedi enill gallu ar y cof, y mae yn dyfod yn dra phwysig ar i'r gallu tra defnyddiol hwn beidio boddloni yr efrydydd. Y mae yr arferiad o *la-io* pob ton, sydd eisoes wedi ei sol-ffeio, yn gam tua rhyddid, ond mae *la-io* y rhydd-ymarferiadau ar y modulator yn gam pellach fyth tuag at y ddirnadaeth barod hono o effaith feddyliol y seiniau, *ar wahan oddiwrth y sillau*, sydd mor ddymunol. Dylai yr arferiad hwn, gan hyny, o *la-io* ar yr olwg gyntaf oddiwrth bwyntiad yr athraw, gael ei arfer yn barhaus.

Dylid hefyd gefnogi **pwyntiad yr efrydydd ar** y modulator tra y byddo ef yn sol-ffeio. Pan y mae hyny yn bosibl, y cynllun goreu ydyw i'r dysgyblion bwyntio yn y dosbarth,—pob un i ddefnyddio yr "*Home Modulator*," gan ei ddal i fynu tra bydd yr athraw yn pasio heibio y rhesi o'r tu ol, neu yn sefyll ar gadair neu fwrdd, fel y gallo weled pawb.

Mae yr "Ymarferiadau Ychwanegol Safonol," ("*Standard Additional Exercises*,") yn dwyn i mewn ddarnau pedair rhan yn y gris hwn.

Mae yr "Ymarferiadau Safonol i Gymysg-leisiau," ("*Standard Mixed Voice Exercises*,") a'r "Ymarferiadau i leisiau Meibion," ("*Standard Men's Voice Exercises*,") yn dwyn i mewn gerddoriaeth bedair rhan yn ystod y gris hwn.

## RHODDWCH FOLIANT.

Ym. 111. cy. A. Ton gron i bedwar llais.




## HEDD ETO SYDD.

Ym. 112. cy. E♭. Ton gron i bedwar llais.




## RHODDWCH FOLIANT I'N DUW NI.

Ym. 113. cy. A. Y geiriau gan E. R.




*Cyf. Saf.* (*New.*)

| r .m :r .d \|tl :— | sl :— .sl \|d :— .sl | m :r \|d :— |
| byth na thewch, | Un - ed ser y | nef - oedd fry, |
| fl .sl :fl .ml \|rl :— | ml :— .ml \|ml :— .sl | d :sl \|ml :— |
| ddae - ar faith, | Clyw - er sain yr | ud - gorn floedd, |
| ad - ur byw | Can - er mewn son- | iar - us lef, |

| s :— .f \|m .r :m .f | m :r \|d : .r | m,r.d :r,d.t \|d .r :m .s |
| Mewn clod-for - †edd | i'n Duw ni † Rhowch | fawl Rhowch |
| m :— .r \|d .tl :d .ll | sl :fl \|ml : | : .sl \|d : .m |
| Yn dad-sein - †io'i | glod ar goedd, | Rhowch fawl Rhowch |
| Gyd - gan uch - el | "Idd - o Ef." | |

| s,f.m :f,m.r \|m .f :s | l :— .l \|s :— .d | tl :r \|d :— |
| fawl, | Rhodd - wch fol - iant | i'n Duw ni. |
| m,r.d :r,d.tl \|d .r :m | f :— .fl \|ml :— .ml | sl :— .fl \|m :— |
| fawl, | Rhodd - wch fol - iant | i'n Duw ni. |

## AMEN.

Ym. 114. cy C. *Mainzer.*

| : | s :d' | — :t | l :r' | — :d' | — :t | d' :— . |
| | A - | - - | - - | - - | - | men, |
| d :f | — :m | r :s | — :f | m :l | r :s | d :— . |
| A - | - - | - - | - - | - | - - | men. |

| s :d' | f :t | m :l | r :s | — .t :l .t | d' : |
| A - | - - - | - - | - - | - - | men. |
| .m :— .l | — .r :— .s | — .d :— .f | — .tl :— .m | r .s :f | m : |
| A - | - - | - - | - - | - - | men. |

## YR EHEDYDD.

*A. L. C.*

Ym. 115. cy. E♭. Y geiriau gan E. R.

| s :— . l :s | s :— .f :m | m :— .f :s | l :— .s :f | m :r :m |
| 1. Mawr dy dded- | wydd - wch, A - | der - yn di - | ffaeth - wch, Dy | gân sydd yn |
| *ail-ad.* O mae dy | rydd - id yn | en - yn aw - | ydd - fryd, I | fyn'd i'r an- |
| m :— . f :m | m :— .r :d | d :— .r :m | f :— .m :r | d :tl :d |
| 2. Pan ddaw y | cyf - nos, Mae'r | grug yn dy | ar - os, A'r | blo - dau sydd |

*ail-ad.* O mae, &c.

*Cyf. Saf.* (*New.*)




## MEWN PERORIAETH.

*Gebhardi.*

Ym. 116. cy. C. Y geiriau gan E. R.




*Cyf. Saf. (New.)*

## HALELIWIA.

**Ym. 117.** CY. **D.** *Mainzer.*

```
:      | :d'   |t  :-.l |s  :f .m |r .l :s .f |m .d': —   |— :t        |d' :
         Hal-  |le  liw- |ia, Hal- |le - liw-   |ia, A -    |- -         |men.
:d'    |-.t:l  |-.s:f   |-.m:r    |— :t,       |d .m:l .s  |f .r :s .f  |m  :
A      |- -    |-       |- -      |-           |men,Haleliw|-ia, Haleliw|ia.
```

## HALELIWIA, AMEN.

**Ym. 118.** CY. **A.** *Mainzer.*

```
|d .s:-.f  |-.m:-.r   |r .d:-.t, |d. :m        |r :f        |m :s        |f :r       |d. :  ||
|Hale - liw|- ia, A-  |men, A-   |men, Ha-     |le - liw-   |ia, A -     |men, A -   |men,
|d :t,     |l, :s,.s, |l, :s,.f, |m .s:d .t,   |-.s,:-.t,   |-.d:-.r     |-.d:-.t,   |d. :
|Ha - le - |liw - ia,A-|men A -  |menHaleliw   |- ia, Ha-   |- le - liw- |- ia, A-   |men,  ||
```

## ER YN DLAWD.

**Ym. 119.** CY. **A.** *F.L.R.*

Y geiriau gan E. R.

```
:d .t, |d :-.r |m .,f:s .,d |t, :— |d :— |r :— |m :f |m :—
Er yn  |dlawd, cei roi dy ben i |or - wedd |Mewn mel - us |hun;
:m,.f, |m, :-.t |d .,l,:t,.,d |s, :— |d :— |d :— |d :t, |d :—

:m .,f |r :-.d |t .,r:d .,m |r :— | : |d :— |t, :l,
Mae'r cy- |foeth - og weithiau'n colli |'gwsg, |Mewn gof - id
:d .,r |t, :-.l, |s, .,t,:l, .,d |t, :— | : |l, :— |r, :r,

|s, :— | :d .t, |d :-.r |m .,f:s .,d |t, :d |-.r:m .,f |s :f
|blin, Cei roi |gwen wrth weled pa mor |yn - fyd Yw'r dynion |ffol sy'n
|s, :— | :m, .s, |l, :-.t, |d .,r:m .,d |s, :d |-.t,:d .,l, |t, :r

|m :r |f :m |r :d |r :— |m :r |d :— |— :  ||
rhed - eg |ar ol gol - ud, |Bydd di yn |ddyn.
|d :t, |l, :s, |f, :m, |r, :— |s, :f, |m, :— |— :  ||
```

*Cyf. Saf.* (*New.*)

## P'LE MAE'R TYLWYTH TEG YN BYW.

*A.L.C.*

Ym. 120. CY. C. Cyf. E. R.




*Cyf. Saf.* (*New.*)

**Rhydd-ymarferiadau ar y Modulator.**—Mae y rhai hyn yn awr i gynyddu mewn cyflymder ac anhawsder, er eu bod o hyd yn cael eu cyfyngu i un raddfa. I ochel syrthio i arferion unffurfiol, ac i sicrhau amrywiaeth, mae yr athrawon goreu yn cael mai gwell iddynt baratoi eu rhydd-ymarferiadau yn flaenorol pan ddeuant at y gris yma. Amcan yr "*Hints for Voluntaries*" ydyw yn unig *awgrymu* y cyfryw rai ag sydd yn briodol i bob gris. Gall yr athraw sydd yn dymuno i'w ddysgyblion ddilyn ei bwyntydd ef yn *gyflym*, eu dysgu i wneyd hyny *trwy beidio byth adael iw bwyntydd aros wrthynt.*

**Ymarferiadau i'r Glust.**—Gellir yn awr ddwyn i mewn rai clust-ymarferiadau dwy ran, fel yn yr "*Hints,*" os bydd y dosbarth yn un cyflym a sylwgar. I rai ereill bydd pob "rhan" o'r ymarferiad yn ymarferiad gwahanol. Pan nad yw corff y dosbarth yn dilyn y clust-ymarferiadau gyda phleser, mae yr athraw i fyned yn ol at ymarferiadau blaenorol, gan adgofio ei ddysgyblion yn barhaus, nid trwy eiriau, ond trwy esiamplau ac egluriadau, am *effaith feddyliol* seiniau gwahanol, a chan eu cymhell yn barhaus i sylwi ar sain *gyntaf* ymarferiad ar ol y darn rhagarweiniol. Mae yr angenrheidrwydd am atebion *ysgrifenedig* i'r clust-ymarferiadau yn ychwanegu fel y bydd yr ymarferiadau yn myned yn feithach. Rhaid parhau

**Clust-ymarferiadau ar Amser** fel ar tudal. 26.

**Darllen Allan** *(Dictation)*.—Gwel tudal. 13 a 26 ond enwer yr wythodau fel ar tudal. 31. Fel hyn, darllener allan y linell olaf uchod, "TLAteffe m f s"—"TA-E r"—"TRAteffe s un-m un-r. Rhaid

**Pwyntio o'r Cof ac Ysgrifenu o'r Cof** fel ar tudal. 13 a 26. Gan y rhoddir

**Papyrau am y Tyst-ysgrifau Elfenol** i'r dysgyblion, y maent yn awr—hyny ydyw, chwech wythnos cyn cau y dosbarth—yn dyfod i fyny yn barhaus i gael eu holi bob yn un ac un, mewn un neu y llall o'r gofyniadau, gan basio arholiad gan yr athraw cynorthwyol yn gyntaf, ac yna gan yr athraw ei hunan. Weithiau fe arholir o flaen yr holl ddosbarth, weithiau yn gyfrinachol, yn ol cyfleusdra yr athraw a'r dysgyblion. Rhaid gwneyd yr holl ofynion o fewn chwech wythnos, onite rhaid ail-ddechreu yr arholiad.

---

## *CWESTIYNAU AR GYFER ARHOLIAD YSGRIFENEDIG NEU LAFAR.*

### ATHRAWIAETH.

1 Beth ydyw dalnod? Beth y mae yn ei arwyddo?

2 Beth ydyw'r fantais i'r canwr o wybod cordiau?

3 Desgrifier cyflead gysefin cord.

4 Beth ydyw gwreiddyn, trydydd, a phumed cord?

5 Beth ydyw'r gwahaniaeth rhwng cyflead *a* o'r cord a'r cyflead cysefin?

6 Beth ydyw cyflead *b* a chyflead *c* cord?

7 Pa un o'r cyfleadau hyn ydyw y mwyaf cymeradwy gan y glust? a pha fodd y defnyddir y cyfleadau ereill?

8 At ba beth y mae yr enw "Cyfansoddiad" cord yn cyfeirio?

9 Pa ffigiwr a ddefnyddir i ddangos fod y trydydd—a'r pumed—a'r gwreiddyn yn cael ei *adael allan*?

10 Pa ffigiwr a ddefnyddir i ddangos fod y trydydd—a'r pumed—yn cael eu *dyblu*? a'r gwreiddyn yn cael ei *dreblu*?

11 Pa un o dair sain cord y gellir ei *gadael allan* hawddaf yn ddisylw?

12 Pa gymeriad yn y cord sydd yn cael ei golli trwy adael allan y trydydd? y gwreiddyn?

13 Pa un o seiniau y cord y gellir ei dyblu yn hawdd, gan ei bod yn cael lleiaf o sylw? a pha un am ei bod y fwyaf nodweddiadol a phwysig?

14 Pan y mae S yn cael ei adferu i D, pa le y mae *te* yn myned?—a *soh*?—a *ray*?

15 Paham y gelwir S yn Llywydd?

16 Desgrifier y cord 48.

17 Beth ydych chwi yn ei deimlo ydyw effaith feddyliol *lah* isel? a *lah* uchel?

18 Beth ydyw effaith *fah* uchel? a *fah* isel?

19 Pa fodd y mae mwy o gyflymder ysgogiad yn cyfnewid effaith feddyliol *doh, me,* a *soh*? a *ray, lah, te*? Noder esiamplau sydd yn eich taro.

20 Pa rai ydynt seiniau cadarnaf y raddfa, a pha rhai ydynt y rhai dibynol? Pa rai sydd yn meddu y duedd ddibynol gryfaf

21 Beth ydyw seiniau dibynol y raddfa wrth ddisgyn? Beth wrth esgyn?

22 Pa sawl dirgryniad mewn eiliad sydd yn rhoddi y sain sefydlog C ganol? Yn mha barth o leisiau meibion y mae y C yma? Yn mha barth o leisiau merched?

23 Desgrifier y dull y mae tonau yn cael eu taro yn y raddfa sefydlog?

24 Pa amgylchiadau amrywiol sydd yn effeithio ar ein gallu i gofio sain mewn uchder penodol?

25 Pa sain benodol o ran uchder sydd yn sefyll tua chanol cylch lleisiau merched a phlant? a lleisiau meibion?

26 Pa fodd yr ydym yn gwybod a ydyw llais diamaethedig yn perthyn i ddosbarth *contralto* neu *bass*, neu y *soprano* neu y *tenor*.

27 Beth ydyw cwmpas hawdd llais *soprano*? y *contralto*?

28 Beth ydyw cwmpas hawdd llais *tenor*? y *bass*?

29 Yn mysg lleisiau diamaethedig, pa ran o lais dyn a geir fynychaf yn cael ei esgeuluso? pa ran o lais merch?

30 A chymeryd marciau wythodol ton oddiwrth y *doh*, sut yr ydym yn gwybod pa *doh* sydd i fod heb y marc wythodol. Yn nghyweirnod G sut y rhoddid y marc ar *lah* islaw y cyweirnod yn cyfateb i'r sain E? Yn nghyweirnod C sut y rhoddid y marc ar *me* uwchlaw y cyweirnod yn cyfateb i'r sain E?

31 Gyda pha farciau wythodol yr ysgrifenir y bass a'r tenor?

32 Wrth siarad am farciau wythodol i'r dyben o ddarllen allan, pa fodd yr ydys yn gwahaniaethu rhwng y *doh* isaf a'r un uchaf? Y $C_2$ oddiwrth y $C^2$?

33 Os bydd arnom eisieu cymeryd anadl ar guriad cryf, pa le yr ydys yn cymeryd amser i anadlu? A pha le ar guriad gwan?

34 Ysgrifener i lawr yr holl reolau ar anadlfanau yr ydych yn eu cofio.

35 Beth a feddylir wrth "fynegiant" mewn cerddoriaeth? a pha rai ydynt yr elfenau sain a ddefnyddir ynddo?

36 Wrth ddefnyddio y gwahanol lythyrenau mewn argraff i ddynodi mynegiant geiriau, beth raid ei benderfynu gyntaf yn y meddwl cyn fod y llythyrenau gwahanol yn meddu ystyr?

37 Beth, *ar ol hyny*, a ddynodir gan y llythyrenau cyffredin? y rhai *Italaidd*? a'r PRIF-LYTHYRENAU bychain?

38 Beth yw yr arwydd *mewn ysgrifen* am y llythyrenau Italaidd? am brif-lythyrenau bychain?

39 Pa fodd y mae darnau esgynol, a seiniau parhaus neu ail-adroddiadol, yn cael eu dangos yn naturiol er mynegiant.

40 Pa foddion ereill sydd, heblaw cymeryd anadl, o wahanu a gwahaniaethu brawddegau cerddorol y naill oddiwrth y llall tra yn canu?

41 Beth ydyw y "toriad mawr mewn rhestr" yn y llais?

42 Pa le y mae yn cymeryd lle yn lleisiau meibion?—merched? Rhwng pa seiniau mewn graddeg (*pitch*) y mae bob amser i'w gael?

43 Pa bryd y mae y "rhestr fechan" sydd briodol i leisiau merched yn dechreu?

44 Pa rai ydynt y tair "sain ddewisiadol" a ddefnyddir yn gyffredin rhwng y rhestrau tew a theneu?

45 Desgrifier neu ysgrifener yr ymarferiad trwy ba un y mae dynion yn dyfod i adnabod eu rhestr deneu?

46 Paham y mae gweithrediad grymusol y *larynx* yn angenrheidiol er cryfhau y rhestr deneu? Pa sill sydd yn rhoi peirianau y llais yn y sefyllfa oreu er gwneyd yr ymgais egniol hwn?

47 Paham y mae yn angenrheidiol i ddefnyddio yr ymarferiad cryfhaol mewn cyweirnodau gwahanol?

48 Desgrifier y dull o arfer yr ymarferiad cryfhaol. Ym. 104.

49 Beth ydyw amser-fesurydd?

50 Beth ydyw ystyr M. 80 ar ddechreu ton?

51 Pa fodd y dangosir cyflymdra mesur chwe churiad cyflym?

52 Paham y mae yn angenrheidiol cael ymarferiadau er dal i fyny ysgogiad rheolaidd?

53 Desgrifier yr ymarferiad er cyrhaedd y gallu hwn.

54 Paham y dylai yr ysgogiad a ddynodir gan M. 60 gael ei osod yn y meddwl?

55 Desgrifier yr ymarferiad i ddysgu hyn.

56 Beth ydyw yr enw am seibiant ar haner cyntaf curiad?—yr ail haner?

57 Pa fodd y mae sain tri chwarter curiad yn cael ei ddynodi yn nodiant y Tonic Sol-ffa.

58 Pa fodd y dynodir curiad yn cael ei ranu i dri chwarter a chwarter curiad gan yr enwau ar amser? Pa rai ydynt ei berthynasau mwyaf?

59 Pa fodd y mae curiad a renir i ddau chwarter a haner yn cael ei ddynodi yn y Tonic Sol-ffa? ac yn yr enwau ar amser? Pa rai ydynt ei berthynasau mwyaf?

60 Pa fodd y mae curiad a renir i haner a dau chwarter yn cael ei ddynodi yn nodiant y Tonic Sol-ffa. Pa rai ydynt ei berthynasau mwyaf?

61 Beth ydyw tor-aceniad? Pa fodd y mae yn effeithio ar y curiad cryf nesaf?

62 Beth mewn *sain* sydd yn debyg i dor-aceniad mewn amser? Yn mha ddull y dylid canu tor-aceniad?

63 Beth ydyw treithganiadaeth?

64 Desgrifier treithgan sengl Seisnig, ac un ddwbl.

65 Beth ydyw y rheol bwysicaf mewn treithganu?

66 Paham y dylai efrydydd mewn treithganu ddechreu trwy dreithganu hymnau?

67 Trwy ba arwyddion y mae y geiriau yn cael eu rhanu i dreithganu, fel ag i wahanu geiriau y treithnod oddiwrth rai y diweddeb? Pa fodd y mae TA-E, neu unrhyw rhaniad o TA-E, yn cael ei ddangos yn argraffiad y geiriau? Pa fodd y mae *SA* yn cael ei ddynodi? *SHA-E*?

68 Pa berthynas sydd rhwng y cyflymdra gyda pha un y mae curiadau y diweddeb yn ysgogi a rhai y treithiad?

69 Beth ydyw y dull o ddysgu treithiadau?

70 Beth ydynt y cydseiniaid newydd a ddygir i mewn yn y gris yma, gan wahaniaethu y trydyddau oddiwrth y pumedau?

71 Beth ydyw yr haner anghydsain, a'i heffaith ar y meddwl?

72 Pa anghydsain baratöedig newydd sydd genym yn y gris yma?

73 Pa anghydseiniaid a ystyrir yn gynllun anghydseiniaid anmharotoedig? Ar ba fath guriad y mae yn cymeryd lle fynychaf, a pha beth ydyw y paratöad melodaidd mwyaf hoff?

74 Desgrifier pa beth a feddylir wrth fod dwy ran yn cydsymud yn eu perthynas a'u gilydd?—wrth symudiad gwrthddaliadol?—a symudiad gwyrdraws?

75 Pa fath ysgogiad perthynasol sydd leiaf blinedig i'r glust? Pa un yw y mwyaf cyffrous?

76 Beth a feddylir wrth efelychiad ffurf y felodedd?

77 Beth a feddylir wrth efelychiad ffurf y mydr?

78 Beth a feddylir wrth olyniad cynghaneddol?

---

## YMARFERIAD

79 Dalier ar un sain yn sefydlog, ar yr un anadl, am chwarter mynyd.

80 Caner yn ysgafn a hyfryd ar y *La* Eidalaidd, Ym. 82, yn nghyweirnodau B a D.

81 Enwer, curiad ar ol curiad, y cordiau, gyda'u cyfleadau a'u cyfansoddiadau yn Ymarferiadau 85 a 86.

82 Sol-ffaer o'r cof unrhyw ymarferiad a ddewiser, gan ddangos effaith feddyliol *fah* uchel, *fah* isel, *lah* isel, *lah* uchel.

83 Rhodder esiampl o'r cof o'r modd y mae cyflymder ysgogiad yn cyfnewid effaith feddyliol

84 Eler dros enwau seiniau y raddfa i fyny—i lawr,—eler dros y seiniau cedyrn i fyny ac i lawr—a'r seiniau dibynol i fyny ac i lawr.

85 Tarawer gyda help y seinfforch y sain C (C' i leisiau merched, a C heb ei farcio i leisiau meibion), a rheder y raddfa safonol tuag i lawr.

86 Tarawer y cyweirnod D,—G,—A,—F.

87 Tarawer o'r cof y sain sefydlog C' (i ferched), a C heb ei farcio (i feibion).

88 A ydyw seiniau goreu eich llais *uwchlaw* G (i ferched a phlant), neu $G_1$ (i feibion), ynte a ydynt islaw y sain hono?

89 Beth ydyw cwmpas hawdd eich llais?

90 I ba un o'r pedair rhan gyffredin mewn cerddoriaeth y mae eich llais chwi yn fwyaf cymhwys?

91 Ysgrifener Soprano ton yn nghyweirnod C, gyda'r marciau wythodol priodol. Gwneler yr un peth yn nghyweirnod B.

92 Ysgrifener i lawr "tri G"—"G tri"—"dau *ray*"—*ray* dau"—"G difarc."

93 Ysgrifener y llythyrenau gyda pha rai y dynodid yn nitl ton ei bod i gael ei chanu gan ddwy Soprano a Chontralto—gan Contralto, Tenor, a Bass—gan Soprano, Contralto, a Thenor.

94 Marcier anadlfanau, gan ystyried y brawddegau yn unig yn Ymarferiadau 100, 101, 98, ac 115.

95 Marcier anadlfanau er mwyn y pwyslais yn Ym. 113 ac 120.

96 Marcier anadlfanau i gyfateb ystyr y geiriau yn Ym. 116

97 Marcier gyda'r ysgrifell o dan y geiriau y "mynegiant" goreu yn ol eich barn chwi yn Ym. 112, 119, ac 120.

98 Caner ar eiriau unrhyw un o'r Ymarferiadau o 97 i 103, fel y gofynir tudal. 27, gofyniad 46.

99 Yr un modd gydag Ym. 110 hyd 120.

100 Caner ar y sill *la*, y *lah* a'r $lah_1$ i unrhyw *doh* a rydd yr athraw.

101 Caner ar *la* y *fah* a'r $fah_1$ i unrhyw *doh* a roddir gan yr athraw.

102 Caner A yn rhestr deneu y llais, a'r un dew

103 Yn nghyweirnod C pa rai ydynt enwau Sol-ffa eich tair prif seiniau dewisiadol?—yn nghyweirnod G?—yn nghyweirnod D?—yn nghyweirnod A?

104 Caner ar y sill *co* Ym. 104 gyda'r rhestr deneu yn nghyweirnod D.

105 Tata-er gan acenu, fesur pedwar curiad, gan ddal i fynu y cyflymder M. 60 o'r cof, M. 20, ac M. 90.

106 Tata-er gan acenu *wyth* o fesurau pedwar curiad, gan gadw y cyflymder M. 60—M. 90.

107 Tata-er o'r cof unrhyw un o'r Ym. 105 hyd 107 a ddewiser gan yr holydd, y mesur cyntaf yn cael ei enwi.

108 Tata-er y rhan uchaf o unrhyw un o Ym. 113, 115, neu 120, a ddewiser gan yr holydd.

109 Tata-er ar y seiniau priodol y rhan uchaf o unrhyw un o'r Ymarferiadau 111, 112, 114, 116, 118, neu 119, a ddewiser gan yr athraw.

110 Adrodder mewn amser priodol unrhyw ddau o'r treithiadau yn y geiriau ar Ym. 86 a ddewiser gan yr athraw.

111 Dangoser engreifftiau o'r cydseiniaid newyddion a ddygir i mewn yn y gris yma.

112 Yr un modd gyda'r anghydseiniaid.

113 Yr un modd gyda'r anghydseiniaid paratöedig newyddion.

114 Yr un modd gyda *fah* yn erbyn *soh* heb ei pharotoi.

115 Dangoser engraifft o symudiad cyffelyb rhwng y rhanau—o symudiad croes—o symudiad gwyrdraws.

116 Dangoser esiampl o efelychiad mydryddol—o efelychiad melodaidd—o olyniad cynghaneddol.

117 Dilyner pwyntiad yr holydd mewn rhydd-ymarferiad newydd, yn cynwys holl seiniau y raddfa gyffredin, ond heb ddim anhawsderau mewn amser yn fwy na rhai yr *ail* ris.

118 Pwyntier a sol-ffaer ar y modulator o'r cof unrhyw un o'r saith ymarferiad canlynol: 97, 98, 99, 100, 103, 111, 112, a ddewiser gan yr holydd.

119 Ysgrifener o'r cof unrhyw un arall o'r saith ymarferiad hyn a ddewiser gan yr holydd.

120 Dyweder pa un ydyw *lah*, pa un ydyw *fah*, fel y cyfarwyddir yn tudal. 27, gofyniad 56.

121 Dyweder pa sain o'r holl raddfa ydyw *sea*, fel ar tudal. 27, gofyniad 57.

122 Tata-er unrhyw fydr o ddau fesur pedwar curiad, yn perthyn i'r gris yma, a rydd yr holydd, ar y sill *la*. Gwel tudal. 27, gofyniad 58.

123 Tata-er mewn sain unrhyw fydr o ddau fesur pedwar curiad, yn perthyn i'r gris hwn, a sol-ffeir gan yr holydd. Gwel tudal. 27, gofyniad 59.

## Y PEDWERYDD GRIS.

*I fyned trwy ymarferiadau i gryfhau y fron, i sicrhau purdeb sain, a chyfuniad perffaith y "rhanau." I adnabod, wrth y glust, gordiau yr Is-lywydd, y Seithfed Llywyddol, yr Ar-donydd, y Don Arweiniol, yr Is-ganolydd, a'r Canolydd, yn y modd mwyaf. I sylwi ar Ddiweddebau. I gofio cyfansoddiad y Raddfa yn ei chyfryngau cyd-gysylltiol. I ganfod trawsgyweiriad i'r cyweirnod llon ac i'r cyweirnod lleddf cyntaf, ei gyfansoddiad a'i effaith feddyliol. I adnabod adferiad cromatic. I wahaniaethu trawsgyweiriad diweddebol, pasiadol, ac estynedig. I daro tonau. I ddysgu datganiad cywir, gyda sylw arbenig ar y cydseiniaid. I ddysgu y gelfyddyd o dreithganu. I ddyfod yn gyfarwydd â'r chwarter curiad distaw, a thrydyddau seiniol curiad. I ddysgu y gelfyddyd o guro amser. I gryfhau y rhestr deneu mewn dynion. I adnabod a chryfhau y rhestr dew mewn merched. I uno y rhestrau. I ddeall anghydseiniau rhan-guriadol. I sylwi ar wahanol bynciau mewn ffurf gerddorol.*

Ym. 121. Y FRON, A SEINIADAETH BUR.—Mae yr ymarferiadau hyn yn awr yn cael eu huno. Caner y rhan isaf fel ymarferiad y frest, bob amser ar y gair "scâ-lâ," ac ar un anadl. Pan gymerir ef yn ol y cyflymder o M. 50, rhaid i'r dysgybl gynilo ei anadl am 20 eiliad. Gall y rhai hyny sydd yn canu y rhan uchaf gymeryd anadl yn y lleoedd a nodir. Rhaid iddynt ganu y mesur cyntaf yn bur wan (*pp*), yr ail yn wan (*p*), y trydydd gyda nerth cymhedrol ar y llais (*m*), a'r pedwerydd mesur gyda holl nerth y llais (*f*). Mor fuan ag y byddo ymarferiad wedi ei ganu fel hyn, rhaid i'r cantorion newid eu rhanau, er mwyn cael gorphwys a chael amrywiaeth; ac ystyrir hyn yn un cyflawniad ar yr ymarferiad. Eler dros yr ymarferiad fel hyn: y *waith gyntaf* yn nghyweirnod C, y lleisiau uchaf yn "llithro" pob mesur ar y sain agored "lâ," yn ol M. 60. *Yr ail waith* yr un modd, yn nghyweirnod D. Fe basia yr athraw o gyweirnod i gyweirnod fel y cyfarwyddir ar tudal. 35. *Y drydedd waith* yn nghyweirnod C♯ y lleisiau uchaf yn canu ar y "cw" stacato yn ol M. 50. *Y bedwaredd waith* yr un modd, yn nghyweirnod D♯. *Y bumed waith* yn nghyweirnod D, y lleisiau uchaf yn la-io fel uchod, yn ol M. 50. La-er yma er mwyn gorphwyso cyn yr ymgais olaf. *Y chweched waith* yn nghyweirnod E, y lleisiau uchaf yn sol-ffeio yn ol M. 70. Yr ydys yn sol-ffeio yma er mwyn gwneyd yn siwr o gywirdeb sain yn y seiniau uchaf. Gofaled yr athraw i beidio cario y lleisiau yn uwch nag a nodir yma, oblegyd gall, yn enwedig mewn ymarferiad sydd yn gofyn nerth cynyddol, beri i restr gyntaf neu dew y meibion gael ei dirdynu, a'i hanghymhwyso i newid y rhestr ar y seiniau dewisiadol. Y mae yn beth hynod fod llais y ferch yn newid i'r rhestr fechan yn union yn y fan y mae llais mab, wythawd yn is, yn newid i'r rhestr deneu. Ond nid ydyw merched yn gyffredin yn defnyddio seiniau dewisiadol (hyny yw, rhai y gellir eu dewis neu beidio,) islaw G. Ond y mae eu lleisiau yn gofyn yr un gofal rhag cael eu gordreisio. Gall lleisiau y Bass ddefnyddio y rhestr deneu hon ar d' yn nghyweirnodau D♯, D, ac E.

CY. C, D, C♯, D♯, D, E. Ymarferiad i'r fron, ac i gynyrchu sain glir. M. 70, 60, 50.

```
 pp                                  †p                                  †m                                  f
| d .m : s .m | d .m : s .m | f .l : d'.l | f .l : d'.l | s .t : r'.t | s .t : r'.t | d'  : —  | —  : —  ||
| Scâ   -   -   -   -   -   | -   -   -   -   -   -     | -   -   -   -   -   -     | lâ.                 ||
| d    :  —   | —    :  —   | f    :  —   | —    :  —   | s    :  —   | —    :  —   | d'  : —  | —  : —  ||
```

Ym. 122. YMARFERIAD MEWN SEINIADAETH. I gael ei arfer yn yr un dulliau ag a ddesgrifir ar tudal. 15, ond fod y rhanau i beidio cael eu newid.

Mae Ym. 123 hyd 126 i gael eu defnyddio yn yr un modd heb eiriau.

CY. E. Ymarferiad mewn seiniadaeth i dri llais cyfartal.

```
| d'  : t   | d'  : —  |     :     |     :     | d'  : —  | t   : —  | d'  : —  | —  : —  ||
| m   : r   | m   : —  |     :     | l   : —   | —   : —  | f   : —  | m   : —  | —  : —  ||
| d   : s,  | d   : —  | f   : —   | —   : —   | f,  : —  | s,  : —  | d   : —  | —  : —  ||
```

*Cyf. Saf. (New.)*

**Cord Fah.**—Mae y seiniau **f**, **l**, a **d**$^{l}$, wrth eu canu gyda'u gilydd, yn ffurfio cord *Fah*. Ac ystyried y cord hwn ar wahan ac ynddo ei hun, y mae yr un yn hollol a'r cordiau D a S. Ond pan y mae yn cael ei osod mewn perthynas â'r cordiau hyn,—hyny yw, pan y mae yn cychwyn oddiwrth y pumed *islaw* y prif neu y cord cyntaf D, yr un modd ag y mae y cord S yn cychwyn oddiwrth y pumed *uwchlaw*,—y mae yn meddu ar effaith ar y meddwl sydd yn wahanol hollol. Gwel tudal. 22. Yn Ym. 123, y mae dwy engraifft o F yn ei gyflead *a*. La-er yr ymarferiad yn dyner, ac aroser ar y F yn hwy na'i amser priodol, a phenderfyned y dysgyblion ei effaith feddyliol. Os gelwir D y cord *Gorphwysol*, a S y cord *Symudol*, gellir galw F y cord *Difrifol*. Pan y mae D yn cael ei alw yn Donydd, ac S yn Llywydd, gelwir y F yn Is-lywydd. Defnyddir ef yn fynych o flaen y cordiau hyn ar ddiwedd neu ddiweddeb y Tonydd. Gwel Ym. 123. Y mae hefyd yn cael ei ddefnyddio yn fynych yn y cyflead *b*. Gwel Ym. 124, 125, a 126.

**Y Cord Saith-Soh.**—Pan y mae **f** yn ymwthio fel anghydsain i'r cord *Soh*, y mae y cord, wedi ei gyfnewid felly, yn cael ei alw yn *Saith-Soh*, a'i ysgrifenu fel hyn, $^{7}$S. Defnyddir y ffigiwr 7 am fod y **f** yn cael ei defnyddio yn gyffredin yn seithfed uwchlaw **s**; ond gall ddygwydd yn y cyfrwng o eilfed islaw y **s**. Yn fynych y mae wythawd ychwanegol (yn gwneyd pedwerydd-ar-ddeg neu nawfed) rhwng yr anghydsain **f** a'i sain wrthddaliadol **s**. Pan y mae felly, nid ydyw yr effaith anghydseiniol ond egwan. Mae y **f** anghydseiniol, yn dilyn, yn ei pharatöad a'i hadferiad, y rheolau a nodir yn y paragraff "**f** yn erbyn **s**," tudal. 38. Bydded i'r dysgyblion la-io Ym. 113 eto, gan aros a gwrando ar $^{7}$S a'i adferiad.

**Aneglurder neu Amwysedd Cordiau.**—Sylwer nad oes dim yn nghyfansoddiad a chyfryngau adran gyntaf Ym. 123 i atal y glust rhag esbonio y cordiau fel : S | S : D | S. Ond yn ol yr egwyddor a nodwyd ar tudal. 22, y mae y glust yn dewis yn naturiol i edrych ar y cord cyntaf sydd yn ei llywodraethu, fel prif gord, ac nid yw yn teimlo, gan hyny, un anhawsder i esbonio yr adran gyntaf fel : D | D : F | D. Pe na byddai fod y glust wedi ei rhagfeddianu gan y cord cyntaf a darewir yn bendant, byddai D, S, a F, yn anmhenderfynol neu amwys. Ond nid oes amwysedd yn $^{7}$S. Nis gellir ei gamgymeryd am unrhyw gord arall. Y mae yn penderfynu y cyweirnod gyda sicrwydd hollol nad yw S yn ei feddu.

**Cordiau Mwyaf, Lleiaf, a Lleiedig.**—Mae y cordiau sydd wedi eu desgrifio eisoes, yn meddu ar drydydd mwyaf yn y gwaelod. Y cordiau hyn ydynt y mwyaf cymeradwy o lawer gan y glust. Mae eu seiniau yn cytuno yn berffaith yn mhob modd—yn seinio yn llawen a hyfryd. Ond er mwyn gwrthgyferbyniad ac amrywiaeth effaith ar y meddwl, y mae cordiau yn meddu ar drydydd lleiaf yn y gwaelod yn angenrheidiol. Cordiau lleiaf y raddfa ydynt R, L, a M. Dangosed y dysgybl hwynt ar y modulator. Y mae yn dda ganddynt drydyddau dyblig, hyd yn nod yn y cyflead *b*, tudal. 29. Y mae y cord T yn llai perseinol fyth nag hyd yn nod y cordiau lleiaf, oblegid y mae ganddo bumed anmherffaith neu leiedig.

**Y Ray Dwys neu Isel.**—Pan y mae eisieu i'r sain **r** seinio gyda **f**, (fel y mae **m** yn seinio gyda **s**, a **l** gyda **d**), a phan y mae eisieu iddi seinio gyda **l** (fel y mae **d** yn seinio gyda **s**, a **f** gyda **d**$^{l}$), mae clust cantorion, a phedwarwyr yn chwareu ar offerynau llinynol, yn naturiol yn ceisio cynyrchu y **r** ychydig yn is na phan y mae yn ofynol ei seinio gyda **s** a **t**. Pan y mae arnom eisieu gwahaniaethu y ffurf isel neu "ddwys" yma ar y **r** oddiwrth ei ffurf arferol, yr ydym yn ei galw yn *Rah*, i beri iddi gyfateb yn sain y llafariad i *Fah* a *Lah*. Gelwir y cyfrwng rhwng *rah* a *ray* yn *comma*. Y mae y Cadfridog Thompson, yr hwn yn ei "*Just Intonation*" (Tonyddiaeth Gywir,) a dynodd sylw gyntaf at hyn, yn dyweyd fod y ffurf uchaf ar *ray* yn cael ei defnyddio yn y cord $^{7}$S am ei fod o fwy o bwys fod iddi gytuno â gwreiddyn a thrydydd cord, nag â'r seithfed anghydseiniol. Y mae ei "*Enharmonic Organ*" yn profi hyn.

**Y Cord Ray, r, f, l,** (neu yn fwy priodol *Rah*,) ydyw yr un a arferir fynychaf o'r cordiau lleiaf. Y mae yn dygwydd yn fynych yn ei gyflead *a*, pan y mae y bass yn symud fel hyn— | **ṙ** : **s**, | **d** ‖ Ond y mae i'w gael fynychaf yn ei gyflead *b*. Gwel Ym. 124. La-ed y dysgyblion yr ymarferiad hwn, gan aros ar R*b*, a gwrando arno. Pan y mae F yn cael ei alw y cord "Difrifol," y mae R, o herwydd y tebygolrwydd ynddo mewn effaith, yn cael ei alw y cord ***haner difrifol***.

**Y Cord Te, t, r, f.**—Mae gwreiddyn a phumed y cord hwn yn ffurfio yr "anghydsain ranol" a ddesgrifir ar tudal. 38, ac yn dilyn y rheol o "adferiad" a ddesgrifir yno. Mae y cord hwn yn cael ei ddefnyddio yn fynych fel "cord dirprwyadol" yn lle $^{7}$S, neu lle nad yw $^{7}$S yn caniatau dilyn-

iad melodaidd yn y rhanau, y mae y cord gwanach hwn yn cael ei ddefnyddio yn ei le. Defnyddir ef yn benaf yn ei gyflead *b*, yr hyn sydd yn llai cras na'r cyflead *a*. Gwrandawer yn dda ar T*b* yn Ym. 125. Gweler T*a* yn Ym. 126. Gelwir T yn ei berthynas a S neu ⁷S yn gord *gwan-symudol.*

**Cord L, l, d, m.**—Defnydd penaf y cord hwn sydd yn y modd lleiaf, yr hwn a ddesgrifir yn y gris nesaf. *Ar wahan oddiwrth hwn,* y mae yn cael ei ddefnyddio yn hollol yn mron yn ei gyflead *a*, gan mai anfynych y gwelir L*b*, a L*c* byth. Defnyddir L*a* yn gydgyfnewidiol a F*b*, pan y mae eisieu y sain l yn y bass, a phan y mae eisieu cord lleiaf i ddangos yn fwy eglur berseinedd yr un mwyaf. La-er Ym. 126, ac aroser ar y L. Sylwer y gall S gael ei adferu ar L, fel y gall ⁷S a T hefyd,—er cynyrchu effaith neillduol. Gelwir y cord L, o herwydd ei effaith arbenig ar y meddwl, yn gord *galarus.*

**Y Cord M, m, s, t.**—Er fod hwn ynddo ei hun gystal ag unrhyw gord lleiaf arall, nid ydyw, o herwydd rhyw reswm nad ydyw eto wedi cael ei egluro yn ddigonol, ond yn anfynych yn cael oi ddefnyddio mewn cerddoriaeth ddiweddar. Efallai fod effaith feddyliol ei bumed yn gwrthdaro yn rhy gryf effeithiau meddyliol ei wreiddyn a'i drydydd. Mae y sain f yn ⁷S hefyd yn gwrthdaro effaith feddyliol y gweddill o'r cord, ond y mae yn anghydsain hollol, ac y mae yn hawdd ei adferu tuag i lawr. Gelwir M y cord *amheus* neu ddiystyr.

**Y Cord ⁷R.**—Y mae yn y cord hwn yr anghydsain d yn erbyn r, â'r hon yr ydym yn dra hyddysg yn y cord llai cynefin ⁴S. Gwel tudal. 23, 29. Y mae y d anghydseiniol yn cael ei pharotoi a'i hadferu yn yr un modd yn y cord hwn hefyd. Defnyddir ⁷R*b* yn fynych mewn diweddebau fel "cord dirprwyol" am F. Gwrandawer arno yn Ym. 126.

Am eglurhad llawnach ar arferion y cordiau hyn, dylid cyfeirio at "Bethau Cyffredin Cerddoriaeth," a'r "Pa fodd i sylwi ar Gynghanedd." Nis gallwn yma ond ceisio deffro y cyfryw ddyddordeb yn y pwngc ag a arweinia'r canwr i efrydiaeth pellach. Y mae gwybodaeth lwyr am natur y gerddoriaeth a gana yn ychwanegu pleser y canwr, ac yn rhoddi iddo hyder wrth daro y seiniau. Y canu *deallgar* hwn ydyw yr hyn yr ydym yn fwyaf awyddus i'w ddwyn oddiamgylch.

**Y mae Effeithiau Meddyliol Cordiau** yn cael eu llywodraethu yn fawr gan effaith naturiol y sain a glywir yn y bass, yn enwedig os bydd yn cael ei dyblu. Ond prif dardd-le effaith feddyliol mewn cord ydyw ei wreiddyn. Y mae yn canlyn, gan hyny, mai yr effaith feddyliol gliraf mewn cord ydyw yr un ag y mae yn ei roddi yn ei gyflead *a*. Y pryd hwnw y mae yn dangos effaith briodol ei wreiddyn ar y meddwl. Dylid dangos hyn trwy engreifftiau.

**Ym. 123.** CY. **G.** Ymarferiad mewn seiniadaeth fel uchod.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| s | m : l | s : – | s | m : l | r : f | m : – |
| m | d : f | m : – | $t_1$ | d : d | $t_1$ : r | d : – |
| d | d : $f_1$ | d : – | $s_1$ | d : $f_1$ | $s_1$ : $s_1$ | d : – |

Wele mor-ddai onus | AC MOR HYFRYD— ‖ 'Yw trigo o | frodyr yn nghyd—

Fel | gwlith Her mon— ‖ Ac-fel-y gwlith-yn disgyn | ar fy nydd oedd Seion—

. 'Canys yno-y-gorch mynodd-yr | Arglwydd y fendith— ‖ sef— | byw yd yn dra gywydd—

. 'Gras-ein Harglwydd Ies u Grist—‖ Fyddo — | gyda chwi oll A men—

**Ym. 124.** CY. **A.** Ymarferiad mewn seiniadaeth fel uchod.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m' | f : r | $t_1$ : – | d | $l_1$ : f | m : r | d : – |
| d | $l_1$ : $l_1$ | $s_1$ : – | $s_1$ | $l_1$ : d | d : $t_1$ | d : – |
| d | $f_1$ : $f_1$ | $s_1$ : – | $m_1$ | $f_1$ : $l_1$ | $s_1$ : $s_1$ | d : – |

'Bendithied-yr | Ar glwydd di—‖ A— | chad — —wed di—

. 'A llewyrched-yr Arglwydd-ei | wyn eb arnat—‖ A— | thrug ar hä ed wrthyt—

. Dyrchafed-yr Arglwydd-ei | wyn eb arnat— ‖ A— | rhodded i ti dang nefedd—

*Cyf. Saf. (New.)*

**Ym. 125.** CY. **A.** **Ymarferiad mewn seiniadaeth** fel uchod.

| m | m : f | s : - | s | f :m.r | m : r | d : - |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d | d : d | $t_1$ : - | d | $t_1$ : d | d : $t_1$ | d : - |
| d | d : $l_1$ | $s_1$ : - | $m_1$ | $r_1$ : $d_1$ | $s_1$ : $s_1$ | d : - |

'O deuwch-i'r dyfroedd 'bob un-y-mae | sych ed arno — ‖ Ie yr-hwn | nid oes ar ian ganddo — ‖ . Deuwch prynwch | win a llaeth— ‖ Heb— | ar ian ac heb werth—

. . Paham-y gweriwch arian . 'am-yr-hyn | nid yw fara— ‖ a'ch-llafur am-yr | hyn nid yw yn-di goni — ‖ . . Gan wrando gwrandewch arnaf fi 'a-bwyt ewch-yr | hyn sydd dda— ‖ ac ymhyf | ryded eich enaid mewn brasder—

. Gogwyddwch-eich clust-a | deu wch ataf— ‖ Gwran— | dewch a-bydd byw eich enaid—

Ceisiwch-yr Arglwydd-tra | galler ei gael-ef— ‖ Gelwch— | arno tra fyddo yn agos—

**Ym. 126.** CY. **A.** **Ymarferiad mewn seiniadaeth,** fel o'r blaen.

| m | s : f | m : - | f | f : m | r : r | d : - |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d | m : r | d : - | d | r : d | d : $t_1$ | d : - |
| d | d : s | $l_1$ : - | $l_1$ | $t_1$ : d | $f_1$ : $s_1$ | d : - |

Ond-i'r-hwn-a ddichon wneuthur-yn | DRA RHAG OROL — ‖ Y-tu hwnt i bob-peth-yr ydym ni-yn-eu-dy | muno neu yn eu meddwl—

. Yn-ol-y nerth-sydd yn-gweith redu | yn om ni — ‖ Iddo Ef-y byddo-y-gog oniant-yn-yr | eg lwys trwy Grist Iesu—

Dros-yr | HOLL GENHEDL AETHAU— ‖ hyd-yn oes | oes oedd A—men—

**Ym. 127.** Enwer o guriad i guriad, y cordiau gyda'u cyfleadau a'u cyfansoddiadau yn Ym. 122 i 126.

**Diweddebau.**—Y mae wedi cael ei nodi eisoes (tudal. 9) fod cerddoriaeth yn naturiol yn rhanu ei hun i frawddegau neu adranau bychain. Nis gall neb ganu ton drosodd heb sylwi hefyd fod llawer o adranau gyda'u gilydd yn ffurfio yn naturiol rhaniad mwy o'r melodedd, a bod y rhaniadau mwy hyn yn terfynu yn y fath fodd, fel ag i gyfleu i'r meddwl, gyda mwy neu lai o berffeithrwydd, y teimlad o orphwysiad. Mae y gorphwysfeydd hyn mewn ton yn cael eu galw yn ddiweddebau. Gall yr athraw sol-ffeio lluaws o felodau, a gofyn i'r dysgyblion godi eu dwylaw, neu wneud rhyw arwydd arall, pan y mae efe yn dyfod i'r gorphwysleoedd naturiol. Mae'r gorphwysfeydd hyn yn *tori* y don i ddarnau mwy, y rhai a alwer yn *ddosranau.* Mae y dosranau hyn yn cyfateb i linellau mewn barddoniaeth. Pan y mae cynghanedd yn cael ei ychwanegu at felodedd, mae y diweddebau yn dyfod yn fwy eglur a phenderfynol, ac y mae y cordiau yn symud at y gorphwysfeydd hyn mewn dull pur glir a phendant. A siarad yn briodol y mae diweddeb mewn cynghanedd yn gyfansoddedig o'r ddau gord diweddaf, ond y mae y cordiau ereill sydd yn dynesu at y cyfryw ddiweddeb yn cael eu trefnu yn bur ofalus. Y prif ddiweddeb ydyw un y Tonydd. Gwrandawer arno yn ei wahanol ddynesiadau yn niweddebau Ym. 86 a 123, ac yn ail ddiweddeb Ym. 85. 124, 125, a 126. Sylwer fod y cordiau F, S, D, yn cynwys holl seiniau y raddfa, a phan y mae y tri chord hyn yn myned yn mlaen i ddiweddeb, y mae fel pe byddai yr holl raddfa yn cael ei gwysio i dalu gwarogaeth i'r Tonydd. Yn mysg y diweddebau hyn, pa fodd bynag, y mae un yn yr hwn y mae y Llywydd yn cael ei adael allan, ac nid oes ond yr Is-lywydd yn arwain at y Tonydd. Gelwir hwn yn ddiweddeb *plagal* [gair yn arwyddo cyfochrol, meddir]. Y mae yn cynyrchu effaith dra difrifol, pan y mae y cyweirnod wedi ei sefydlu yn dda yn y glust. Gwel Ym. 123. Y diweddeb nesaf mewn pwysigrwydd at y Tonydd ydyw yr un ar y Llywydd. Gwrandawer arno gyda'i wahanol ddynesiadau yn Ym. 85, 425, 125. Teimlir fod y diweddeb yn un o ddysgwyliad yn gystal ag yn un o orphwysiad. Yr unig ddiweddeb arall i gael ei nodi yma ydyw yr un ar L, yn y lle y buasid, yn ol arfer cyffredin diweddebau, yn dysgwyl S. Gelwir y diweddeb yma yn ddiweddeb annysgwyliadwy. Gwrandawer arno yn Ym. 126.

**Cyfleadau C.**—Defnyddir y cyflead *c* (tudal. 28) ar gordiau, yn benaf yn D*c*, fel cord trydydd-olaf diweddeb. Gwel Ym. 85 a 124. Perthyna y neillduolrwydd arbenig yma i drydydd cyflead D, sef ei fod yn dangos y cyweirnod yn bur eglur, oblegid tra mae y cord ei hunan yn Donydd, caniateir i lywydd y cyweirnod y pwysigrwydd a'r safle sydd yn perthyn i'r sain sydd yn y bass mewn cord. Pan

y mae y diweddeb yn symud fel hyn, F, D*c*, S, D, y mae fel pe byddai y gerddoriaeth yn dyfod i derfyniad, yn cael ei ysgwyd fel pendyl o Is-lywydd i Lywydd, gan basio trwy'r man gorphwys—y Tonydd—i'r lle y mae yn y diwedd yn dychwelyd. Mae cyflead *c* ar gordiau, yn ol ei natur, yn anhyfryd, ac mewn rhan yn anghydseiniol; nid yw y glust yn foddlawn fod i unrhyw gord arall ei defnyddio oddigerth y rhai ar y Tonydd, y Llywydd, a'r Islywydd. Y mae ganddo yn gyffredin ryw esgus drosto ei hun, yn symudiad melodaidd y bass. Y mae naill ai yn "pasio" neu yn "parhau," neu yn "aceniadol, ac yn symud o un cam i'r llall ar y raddfa."

**Cyfansoddiad ¹S a Chordiau Lleiaf.**—(Cymharer tudal. 29). Gan wahaniaethu oddiwrth y cordiau cydseiniol mwyaf, y mae ¹S yn caniatau i'w drydydd gael ei adael allan, oblegid trwy help ei seithfed y mae trydydd yn aros yn y cord wedi hyny. Y mae cordiau lleiaf hefyd yn gwahaniaethu oddiwrth y cordiau mwyaf, trwy ganiatau dyblu eu trydyddau yn nghyflead *b*; oblegid gan fod y cordiau lleiaf ynddynt eu hunain yn lled gras ac aflafar, mae melusder ychwanegol yn eu gwella.

**Grisiau y Raddfa.**—Yr ydym bellach wedi dysgu *graddfa gyffredin cerddoriaeth*, ac wedi gweled fod y *saith sain hynod-berthynasol* hyn yn cynyrchu effeithiau neillduol ar y meddwl *mewn canlyniad* i'r berthynas yma. Yr ydym wedi gweled hefyd fod yr effeithiau meddyliol hyn yn cael eu teimlo drosodd drachefn mewn wythodau.

Dylai y dysgybl gael ei arwain i sylwi ar risiau, neu y Camrau o un sain i'r nesaf yn y raddfa yma. Gall yr athraw la-io y raddfa, a gofyn i'w ddysgyblion i ddyweyd wrtho, yn ol y glust, pa le y mae y seiniau yn gorwedd agosaf at eu gilydd. Buan y canfyddant fod y *camrau bychain* rhwng y **m f** a'r **t₁ d**. Ni fyddant yn alluog i ganfod â'r glust, ond gellir eu hysbysu, fel gwirionedd mewn cerddoriaeth a chelfyddyd, fod gwahaniaeth rhwng camrau ereill y raddfa, fod y tri *cham mwyaf* rhwng **d r**, **f s**, a **l t**; a'r ddau *gam lleiaf* rhwng **r m** a **s l**. Y gwahaniaeth rhwng *ray* a *rah*, a'r hwn a elwir yn "comma," ydyw y gwahaniaeth rhwng y cam mwyaf a'r cam lleiaf. Gellir desgrifio y raddfa, gan hyny, fel yn gyfansoddedig o ddau gam bychan, wedi eu gwahanu un ffordd gan *ddau* gam, a ffordd arall gan *dri* cham. Y mae gan un cam bychan drydydd mwyaf (sef dau gam) uwchlaw iddo, ac y mae gan y llall yr hyn a elwir yn deirton (sef tri cham) uwchlaw iddo. Gellir galw *Doh* y sain hono o'r raddfa sydd yn sefyll ar gam bychan, gyda dau gam a cham bychan uwchlaw iddo. Prif hynodion **d** ydynt, yn gyntaf, fod yr un cam bychan yn arwain *i fyny* ato; ac yn ail, fod y cam bychan arall yn *arwain i lawr* at ei drydydd uwchlaw. O **t₁** i fyny at **f**, y mae genym drydydd mwyaf, gyda chamrau bychain uwchlaw ac odditano. O **f** i **t** y mae genym y cyfrwng neillduol o dair ton.

Fel hyn y mae **t** a **f** yn dyfod yn seiniau mwyaf hynodol y raddfa. Oddiwrth eu heffeithiau neillduol ar y meddwl, gellir galw **t** yn sain *lon* y raddfa, a **f** yn sain *leddf* y raddfa. Cawn weled yn mlaen fel y mae holl agwedd y raddfa yn newid pan y mae **f** yn newid i fod yn **t**, neu **t** i fod yn **f**. Y mae yn werth sylw fod y cyfrwng rhwng **t₁** a **f** yn ryw ychydig yn fwy na'r teirton priodol o **f** i **t**. Y mae y ddau yn cynwys trydydd mwyaf, ond y mae gan un, yn ychwanegol at *drydydd mwyaf*, ddau gam bychan, a'r llall un cam mawr; ac y mae dau gam bychan yn fwy nag un cam mawr.

**Dirnadaeth am Drawsgyweiriad.** — Trawsgyweiriad ydyw gwaith y gerddoriaeth yn myned drosodd o un cyweirnod i un arall. Weithiau yn nghwrs ton y mae y gerddoriaeth fel wedi dewis cyweirsain neu sain lywodraethol newydd; ac y mae y seiniau yn ymgasglu o gwmpas y sain newydd yma yn yr un berthynas a threfn ag o gwmpas y gyntaf. I'r dyben hwn y mae un neu ddwy o seiniau newyddion yn angenrheidiol, ac y mae y seiniau nad ydynt yn newid o ran eu huchder, er hyny, yn newid eu heffaith ar y meddwl, gyda'r cyfnewidiad yn y berthynas cyweirnodol. I'r rhai sydd wedi astudio effaith pob sain ar y meddwl, y mae astudio trawsgyweiriad yn dod yn bur ddyddorol. Ar alwad ryw un sain neillduol, yr hon a glywir yn arbenig fel y mae yn dod i mewn i'r gerddoriaeth, y mae y seiniau ereill yn ymddangos fel yn cydnabod eu llywodraethwr newydd, ac ar unwaith yn cymeryd y swyddfeydd y mae efe yn ei ofyn, i weini yn eu lleoedd o'i gwmpas.

Gellir gosod y *ffaith* gerddorol yma o flaen y dysgyblion mewn rhyw ffordd debyg i'r un a ganlyn:—

"Gwrandewch arnaf tra y byddaf yn canu ton i chwi. Mi a ganaf y linell gyntaf ar rifnodau, a dywedwch wrthyf pa sain o'r raddfa ydyw yr un y mae yr "wyth" yn disgyn arni? Mae y don yn dechreu ar **s**. Beth ydyw yr "wyth?" Mae yr athraw i ganu ar y rhifnodau fel hyn:—

CY. F.

| :s | s :f | m :r | d :l | s |
|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. 3. | 4. 5. | 6. 7. | 8. |

"Ie, **s** ydoedd yr 'wyth,' Beth ydyw effaith feddyliol y **s**? Ie, y sain glir neu ardderchog. A ellwch chwi ddyweyd wrth wrando beth yw y gwahaniaeth rhwng **s** a **d**. Pa un sydd yn rhoddi y teimlad llawnaf o *orphwysiad*—ydyw yr *orphwyssain* gryfaf?" **d**. "Mi ganaf ail linell y don. Dywedwch wrthyf yr effaith ar eich meddwl y mae y sain sydd yn *awr* yn disgyn ar yr 'wyth' yn ei chael?" Mae yr athraw yn canu fel y canlyn:—

| :s | $d^1$ :t | l :s | s :fe | s |
|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. 3. | 4. 5. | 6. 7. | 8. |

"Ai **s** ydoedd, sef sain glir, ardderchog, fel sain udgorn, ynte **d**, y sain orphwysol, gadarn, a therfynol? Gwrandewch eto tra byddaf fi yn canu y *ddau* wyth, a chydmerwch chwithau hwynt." Mae yr athraw yn canu. "Beth oedd y gwahaniaeth rhyngddynt? Ie, **s** ydoedd y gyntaf, ac yr oedd y llall yn swnio yn fwy tebyg i **d**. Ac eto gadewch i mi ddyweyd wrthych, fod y ddwy sain yr un yn hollol o ran graddeg neu uchder. Pa fodd y daeth yr ail wyth i gynyrchu effaith mor wahanol ar y meddwl? Beth oedd yn ei gwneyd yn gymaint o sain orphwysol a therfynol? Gadewch i ni gymeryd y modulator, a chewch chwi sol-ffeio y ddwy linell a glywsoch fel y byddaf fi yn eu pwyntio." Y mae yr athraw yn pwyntio tra mae y dysgyblion yn canu, ond yn rhoddi **f** y cyweirnod gwreiddiol lle mae y sain ddamweiniol yn dod i mewn. Fel hyn:—

| :s | $d^1$ :t | l :s | s :f | s |
|---|---|---|---|---|

"Ai fel yna yr oedd o'r blaen?" Nage. "Ond treiwch ef fel hyn eto. A oedd y **s** yn swnio fel **d** yn awr? A oedd mewn rhyw ffordd yn wahanol oddiwrth y **s** arall?" Nac oedd. "Pa beth, ynte, sydd arnom eisieu i wneyd i **s** seinio fel **d**?" Sain arall yn lle **f**. "O'r goreu. Ni a alwn y sain newydd yn fe, ac ni a ganwn yn iawn." Yna hwy a sol-ffäant hi oddiwrth golofn ganol y modulator. "Yr ydych yn gweled eich bod wedi *myned trosodd* i gywair newydd, neu wedi trawsgyweirio."

*Cyf. Saf.* (*New.*)

Gellir dangos yr un gwirionedd cerddorol, mewn trawsgyweiriad arall, fel y canlyn:—

"Mi a ganaf ddwy linell ar *ffigyrau*. Dywedwch wrthyf beth ydyw effaith y *naw* cyntaf, a'r ail *naw*. Y mae y ddwy linell yn dechreu ar **d**. Beth ydyw y *naw*?" Y mae yr athraw yn canu ar y ffigyrau heb y modulator—

CY. A.

| :d | f :m :r | d :– : | $t_1$ :$l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :– ‖ |
|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. 3. 4. | 5. | 6. 7. 8. | 9. |

| :d | f :m :r | d :– : | $ta_1$ :$l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :– ‖ |
|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. 3. 4. | 5. | 6. 7. 8. | 9. |

Yr oedd y *naw* cyntaf yn meddu effaith y **f** yn bur gryf, yr ail yn meddu ar dawelwch y **d**. "Ie, ond y mae y ddau yr un sain yn hollol o ran graddeg! Beth sydd wedi newid effaith feddyliol yr ail?" Yr ydych wedi dwyn sain newydd i mewn yn lle $t_1$. "Ie, y sain newydd oedd yn newid effaith y **f**. Yna ni a alwn y sain newydd yn **ta***, ac ni a solffäwn y ddwy linell hyn oddiar y modulator." Y maent yn sol-ffeio. "Yr ydych yn teimlo ein bod fel o'r blaen wedi *pasio drosodd* i gyweirnod newydd, ond i gyweirnod newydd *gwahanol*.

**Seiniau Gwahaniaethol Trawsgyweiriad.**—Pan y trawsgyweirir trwy ddefnyddio sain newydd yn lle **f**, teimlir fod y sain newydd mewn gwrthgyferbyniad i'r sain a ddileir. Mae y sain frawychus yn cael ei newid am sain dreiddiadol, ac y mae sain *flat* neu leddf yr hen gyweirnod yn cael ei thaflu allan i wneyd lle i sain *sharp* neu lon yr un newydd. Yr ydym, gan hyny, yn galw **fe** yn sain lon wahaniaethol. Pan y mae trawsgyweiriad yn cymeryd lle trwy ddwyn i mewn sain arall yn lle y **t**, teimlir fod sain lon dreiddiadol yr hen gyweirnod wedi ei newid am sain leddf frawychus y cyweirnod newydd. Gelwir *Ta*, gan hyny, y sain leddf wahaniaethol. Gwyr yr athraw sut i wneyd hyn yn eglur i glust y dysgybl.

**Tuedd Felodaidd at Drawsgyweiriad.**—Bydded i'r dysgyblion la-io (nid sol-ffeio) oddiwrth y modulator, y fath frawddeg a hon:—

---

* Seinir y *ta* fel y "ta" yn y gair Seisnig *tall* (tàl).

CY. D.

{| d :m .f | s :d' | t .l : s | t .l : s }

{| t :— | l :— | s :— | f̊ :— | s }

a *theimlant* fod y f yn swnio yn annaturiol. Y mae yn fwy naturiol i ganu sain sydd yn un dan-arweiniol at **s**, fel y mae $t_1$ i **d**, sain a alwn ni yn **fe**. Bydded iddynt ei chanu drachefn, gan ddefnyddio **fe**, a theimlant fod effaith feddyliol **t l s** wedi dyfod yn **m r d**. Y rheswm yw fod ein clustiau wedi cynefino gymaint a'r *ddau* "gam" *llawn* **m r a r d** yn arwain at gyweirsain, fel pa bryd bynag y canfyddant gyfryngau cyffelyb yn cael eu hacenu yn yr un modd, gwell ganddynt eu hesbonio fel **m r d**.

Treier yr unig ddau gyfrwng arall o ddau gam llawn yn y raddfa **l s f**, a cheir yr un clust-arferiad, yr un duedd yn y meddwl i esbonio y cyfrwng fel **m r d**. Gwneler yr un fath gyda'r esiampl hon a'r un arall.

CY. D.

{| d :m | s :t | d' :l | f :— }

{| f .s :l | f .s :l | f :— | s :— }

{| l :— | t̊ :— | l ‖

Yma fe deimlir mai **t** ydyw y sain annaturiol. Y mae arnoch eisieu "sain uwch-arweiniol" i **l**, fel y mae **f** i **m**. Mae y glust yn naturiol yn esbonio y mynych-arferedig **f s l** fel **d r m**, ac yn dymuno gwneyd y tair sain ddiweddaf yn **m f m**. Yn wir fe ellir sylwi nad yw y "teirton," fel symudiad melodaidd, (gyda'i thri cham llawn,) yn cael ei hoffi gan y glust, a bod y rhan isaf o'r raddfa yn cael ei hoffi yn fwy na'r rhan uchaf.

**Trawsgyweiriad i Gyweirnod agos.**—Gelwir y trawsgyweiriadau y buom yn eu hefrydu yn awr, yn drawsgyweiriadau o un symudiad, oblegid nad oes ond un cyfnewidiad yn cael ei wneyd yn ngraddeg neu uchder y seiniau a arferir. Pan y mae **s** yn dyfod yn **d**, dywedir fod y gerddoriaeth yn myned i'r *cyweirnod llon cyntaf*. Pan y mae **f** yn dyfod yn **d**, yr ydym yn dyweyd fod trawsgyweiriad wedi cael ei wneyd i'r *cyweirnod lleddf cyntaf*. Y mae pedwar ugain o bob cant o'r holl drawsgyweiriadau mewn cerddoriaeth yn cael eu gwneyd i'r naill neu y llall o'r ddau gyweirnod hyn; ac o'r ddau y cyweirnod llon cyntaf ydyw yr un a arferir yn benaf mewn "prif drawsgyweiriad," neu drawsgyweiriad oddiwrth brif gyweirnod y gerddoriaeth. Dylid deall perthynas y ddau gyweirnod agos hyn yn dda gan y dysgybl, a dylid ei arwain i sylwi sut y mae yr un seiniau o ran graddeg yn newid eu heffaith feddyliol. Gellir desgrifio hyn i fesur gan y daflen ganlynol:—

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Daw y* | **t** dreiddiadol | *yn* | **m** dawel. |
| „ | **l** wylofus | „ | **r** gyffrous. |
| „ | **s** fawreddog | „ | **d** gadarn. |
| *Newidir y* | **f** frawychus | *am y* | **t** dreiddiadol. |
| *Daw y* | **m** dawel | *yn* | **l** wylofus. |
| „ | **r** gyffrous | „ | **s** fawreddog. |
| „ | **d** gadarn | „ | **f** frawychus. |

Os bydd gan yr athraw fwrdd du, byddai yn burion iddo adael i'w ddysgyblion wneyd y cyweirnod newydd wrth ochr yr hen un, mewn rhyw ffordd fel hon:—

| | |
|---|---|
| d' | f |
| te | m |
| lah | r |
| soh — | d |
| fah ↗ | $t_1$ |
| me | $l_1$ |
| ray | $s_1$ |
| doh | $f_1$ |

"Yr wyf wedi gwneyd y raddfa (fel ar yr ymyl), a chwi a welwch fy mod wedi cadw yn ofalus i wneyd y pellder llai rhwng y **m f** a'r **t d'**. Gadewch i ni dybied fod ein **s** yn cael ei newid i **d**. I ddangos hyn yr wyf yn ysgrifenu y **d** ar y dde i **s**. Pa gyfnewidiad sydd yn awr yn cymeryd lle yn effaith feddyliol **s**? * * "Os felly, beth fydd **l**? a beth fydd y cyfnewidiad yn yr effaith feddyliol?" * * "Beth fydd **t**? a sut y bydd yn newid ei heffaith? * * "Beth am **m**?" * * "Beth am **r**?" * * "Beth am **d**?" * * "Beth sydd yn dyfod o'r **f**?" Ai cam mawr ynte un bychan sydd rhwng **d** a'r sain sydd odditani?" * * "Beth sydd rhwng y **s** a'r **f**?" * * "Felly nid yw y **f** yn ddigon agos at y **d** newydd i ffurfio "nod arweiniol" priodol. Yr ydym gan hyny yn ymlid **f** o'r cyweirnod newydd, ac yn defnyddio **fe** yn ei lle. Dyma'r prif gyfnewidiad mewn effaith feddyliol sydd yn cymeryd lle. Sut y desgrifiwch chwi ef?" Eto, fe all yr athraw ddyweyd:—"Gadewch i ni

*Cyf. Saf.* (*New.*)

dybied fod f wedi dyfod yn d newydd. Mi a ysgrifenaf d ar law chwith f. Beth gaf fi ysgrifenu ar law chwith y m ?—y r ?—y s ?—y l ? Beth sydd yn dyfod o t ?" * * "Ie, y mae sain leddf newydd yn cael ei rhoi yn ei lle."

**Trawsgyweiriad Dychweliadol.**—Fel rheol y mae pob ton (*tune*) yn dychwelyd i'w phrif gyweirnod, ond nid yw y trawsgyweiriad dychweliadol yn cymeryd lle mewn modd mor amlwg a'r prif drawsgyweiriad, oblegid y mae gan y prif gyweirnod afael eisoes ar y meddwl, ac y mae y glust yn derbyn yr awgrym lleiaf am ddychweliad. Yn gyffredin hefyd, yn y prif drawsgyweiriad, y mae ar y cyfansoddwr eisieu cynyrchu ei effaith, ac yn hwnw, gan hyny, y mae yn gwneyd ei gordiau yn benderfynol, a'i seiniau gwahaniaethol yn bendant. Ond nid yw, pa fodd bynag, bob amser felly, ac mewn salm-donau y mae y trawsgyweiriad dychweliadol yn fynych mor brydferth ac effeithiol a'r prif drawsgyweiriad. Sylwer yn fanwl fod y dychweliad i'r cyweirnod newydd yr un peth yn ei natur a myned i'r cywair lleddf cyntaf, ac felly y mae astudio perthynas y ddau gyweirnod hyn yn sylfaen astudiaeth pob trawsgyweiriad. Er mwyn cyflymdra i'r cof, byddai yn dda i'r dysgybl dynu darlun o brif gyweirnod gyda'i gyweirnod llon a lleddf cyntaf, a dysgu allan berthynas ei nodau. Er engraifft bydded iddo ddyweyd yn uchel "d f, d s; r s, r l; m l, m t; f i t, f d; s d, s r; l r, l m; t i f, t m. Bydd yn ddyddorol i grybwyll fod y t newydd, wrth basio i'r cyweirnod llon cyntaf, yn gofyn i'r hen l gael ei chodi un *comma*, i'w gwneyd yn r newydd. Pe byddai yn angenrheidiol, gellid galw y ffurf yma ar y sain yn *Lay*, (yr hon a swnir yn lê).

| | | |
|---|---|---|
| s | d' | f |
| | t | m |
| f—*ta* | | |
| m | l | r |
| r | s | d |
| | *fe*— | t |
| d | f | |
| t, | m | l, |
| l, | r | s, |
| s, | d | f, |

**Nodiant Trawsgyweiriad.**—Y mae dysgyblion y Tonic Sol-ffa bob amser yn dewis fod i'r nodau gyfateb i effeithiau meddyliol y seiniau a ddangosant. Yr ydym, gan hyny, yn mabwysiadu y cynllun o roi i sain fyddo yn agos ragflaeni y sain wahaniaethol *enw dwbl*. Yr ydym yn ei galw wrth ei enw yn yr hen gyweirnod, yn gystal a'r un y mae yn ei gymeryd yn y newydd, gan swnio yr hen enw yn ysgafn, a'r un newydd gyda phwyslais, fel hyn, *M'Lah*, *S'Ray*, *D'Fah*, &c. Yr ydym yn galw y rhai hyn yn seiniau

*Cyf. Saf.* (*New.*)

trosglwyddiadol, ac yn eu hysgrifenu fel hyn—ml, sr, df. Yr ydym yn galw hon y *ffordd oreu* i ddangos trawsgyweiriad. Ond pan y mae y trawsgyweiriad yn bur fyr, yr ydym yn ysgrifenu y t newydd yn fe. a'r f newydd yn ta. Fe bwyntia yr athraw ar y modulator, ac fe ddysg, trwy gynllun, y fath adranau a'r rhai canlynol :—

|d :m |s :d' |sd :t, |d

neu |d :m |s :d' |s :fe |s

a |d :m |s :d's |f :m |r

neu |d :m |s :d' |ta :l |s

gan wneyd i'r dysgyblion sol-ffeio y ddwy ffordd. Weithiau cymerir y trawsgyweiriad fel yn Ym. 129 a 123, ar sain drosglwyddiadol *nad* yw yn gyffredin i'r ddau gyweirnod. Yn yr amgylchiad hwn yr ydym yn ysgrifenu y nodiant "goreu" o drawsgyweiriad fel hyn :—

|f :fet, |d neu |t :taf |m

**Arwyddnod Trawsgyweiriad.**—Y mae arwyddnod y cyweirnod newydd yn cael ei osod uwchben pob trawsgyweiriad pan yn cael ei ysgrifenu yn ol y drefn oreu. Os cyweirnod llon a fydd (h.y., ar y *dde* i'r modulator), y mae seiniau newydd yn cael eu henwi ar y *dde* i enw y cywair, fel hyn, A. t., neu (os bydd dau symudiad,) A. t.m. Os cywair lleddf a fydd (h.y., ar y *chwith* i'r modulator), y mae y seiniau newyddion yn cael eu gosod ar y *chwith*, fel hyn, f. B♭, neu d.f. B♭, ac felly yn mlaen. Wrth hyn y mae y canwr yn gwybod fod ganddo f newydd neu t newydd i'w dysgwyl. Byddai symudiadau pellach, yn meddu eu dau neu dri o nodau gwahaniaethol ereill, wedi eu gosod yn yr un modd.

**Effeithiau Meddyliol Trawsgyweiriad.**—Mae effeithiau mwyaf dynodiadol trawsgyweiriad yn codi oddiwrth y seiniau gwahaniaethol a ddefnyddir. Mae trawsgyweiriad i'r cywair llon cyntaf yn naturiol yn dynodi cyffro a dyrchafiad ; a'r un lleddf cyntaf, iselder a difrifoldeb.

**Llaw-arwyddion.**—Nid ydyw yn ddoeth defnyddio llaw-arwyddion wrth ddysgu trawsgyweiriad, oblegid y maent yn dueddol i dynu sylw oddiwrth y modulator gyda'i "drindod prydferth o gyweirnodau." Dylid gwneyd yr ymdrech mwyaf i

sefydlu tri chyweirnod y modulator yn llygad y meddwl. Ond os bydd yn ddoeth, ar achlysur, i ddangos trawsgyweiriad trwy law-arwyddion, gall yr athraw ddangos trawsgyweiriad i'r *dde* ar y modulator trwy ei law *chwith* (yr hon fydd ar y dde i'r dysgybl) fel hyn: Pan gyda'r llaw dde y bydd wedi dyfod at sain drosglwyddiadol, bydded iddo osod ei law chwith yn union odditani, gan wneyd arwydd priodol i'r cyweirnod newydd; yna, gan dynu ei law dde yn ol, bydded iddo ddangos y gerddoriaeth â'i law chwith. Gall wneyd yn y dull gwrthwynebol yn y trawsgyweiriad lleddf. Gellid yn hawdd dyfeisio arwyddion am **fe**, **ta**, &c., ond nid ydym yn cynghori eu defnyddio.

**Effeithiau Cromatig.**—Mae y glust yn ffurfio y fath arferiad o ddysgwyl i **t** symud i **d**, a **f** i symud i **m**, yn enwedig mewn diweddebau ac adranau ereill a fwriedir i benderfynu y cyweirnod, fel y mae effaith newydd yn codi pan y mae y glust yn cael ei siomi o'r boddhad a ddysgwyliodd. Y mae hyn yn arbenig felly pan y mae **t** neu **f** newydd yn bygwth penderfynu i ni gyweirnod *newydd*. Y mae rhai o'r effeithiau mwyaf cyffrous, a rhai o'r rhai mwyaf prydferth mewn cerddoriaeth ddiweddar yn codi o hyn. Gweler ychwaneg ar Adferiad Cromatig Cordiau yn "Pa fodd i sylwi ar Gynghanedd."

Dylid dysgu y fath ymarferiadau a'r rhai canlynol trwy *gynllun* oddiwrth y modulator. Bydded iddynt yn gyntaf gael eu sol-ffeio, ac wedi hyny eu la-io, a'r lleisiau yn aros ar y seiniau gwahaniaethol. Ond bydded i'r lleisiau nodi yn ofalus adferiad (neu "symudiad yn mlaen") y sain hono, oblegid ar yr adferiad y mae yn dibynu pa un ai trawsgyweiriadol ai cromatig fydd yr effaith.

Ym. 127*b*. cy. E. Effaith y t newydd.

(B. t.)

:d | m :d | s :$t_1$ | f :— | m :$^{m}l_1$ | $t_1$ :d | r :$t_1$ | f :— | m ||

Ym. 128. cy. A. Effaith (E. t.)

:d | $t_1$ :d | m :s | f :— | m :$^{r}s$ | l :t | $d^1$ :$r^1$ | t :— | $d^1$ ||

Ym. 129. cy. E♭. Effaith y fe gromatig.

| d :r | m :d | f :fe | s :— | $d^1$ :s | l :s | fe :f | m :— ||

Ym. 130. cy. B♭. Effaith y f newydd.

(f. E♭.)

:d | $s_1$ :d | $t_1$ :f | m :r | d :$^{d}s$ | f :m | r :f | m :r | d ||

Ym. 131. cy. F. (f. B♭.)

:d | m :d | s :$d^1$ | t :— | $d^1$ :$^{f}d$ | m :d | s :d | f :— | m ||

Ym. 132. Effaith ta gromatig.

:m | r :d | $t_1$ :$ta_1$ | $l_1$ :$t_1$ | d :$s_1$ | $l_1$ :$ta_1$ | $t_1$ :d | m :r | d ||



**Trawsgyweiriad Diweddebol.**—Y ffurf fwyaf cyffredin ar drawsgyweiriad i'r cyweirnod llon cyntaf ydyw yr un yn mha un y mae yn rhoi bywyd a phrydferthwch mewn diweddeb. Gwel Ym. 133 a 134. Pan nad yw trawsgyweiriad yn dechreu cyn mesur ail-ddiweddaf llinell, ac nad yw yn parhau

tuhwnt i'r diweddeb, yr ydym yn ei alw yn drawsgyweiriad diweddebol. Anaml y defnyddir y cyweirnod lleddf cyntaf fel hyn, ond gwel Ym. 141. Yr ydym yn ysgrifenu trawsgyweiriad diweddebol yn yr hyn a ellir ei alw y drefn "anmhriodol"—hyny yw, gyda fe a ta.

**Symudiad Diweddebol y Bass.**—Y mae | d : r | s, neu | r : r | s, yn swnio fel | f : s | d neu | s : s | d y cyweirnod llon cyntaf, ac yn awgrymu trawsgyweiriad i'r meddwl hyd yn nod heb y fe.

## TRA YN GWEDDIO.

*Dr. Croft.*

Ym. 133. CY. A. *Yn Gadarn.* Y geiriau gan E. R. Efel.




3 Yn rhwymau cariad uner ni
A'n gilydd, O ein Duw;
Dadseinier dros bob bryn a dol,
GAN RHYDDID TRA BO'M BYW.

4 *O Arglwydd Dduw'r cenedloedd oll,*
*Rho'th fendith ar ein gwlad,*
Bydd iddi'n nodded rhag pob drwg,
BYDD IDDI BYTH YN DAD!

## CANWN GLOD.

*Choral Germanaidd.*

Ym. 134. CY. A. *Yn llawn.* Y geiriau gan E. R. Efel.




3 Molwn Dduw am bob rhyw ddawn,
Am bob cysur ganddo gawn;
Am bob tuedd tua'r nef,
Dylem ddiolch iddo Ef.

4 Molwn â chalonau llawn,
Dduw, *am roi ei Fab yn Iawn;*
Dyma ddawn nas gall'sai Duw
Roi ei mwy i ddynolryw.

*Cyf. Saf. (New.)*

**Trawsgyweiriad Pasiadol,** (neu megys wrth basio).—Y ffurf fwyaf cyffredin ar y cyweirnod lleddf cyntaf, ydyw hono yn mha un y mae yn gwneyd addurn gynghaneddol *wrth basio*, nid mewn diweddeb, ond yn nghanol llinell neu yn agos i'r dechreu. Gwel Ym. 142, 144. Anaml y defnyddir y cyweirnod llon cyntaf fel hyn, ond gwel Ym. 146, 147. Yr ydym yn ysgrifenu trawsgyweiriad pasiadol yn y drefn "anmhriodol."

**Trawsgyweiriad Estynedig** ydyw yr un a geir tuhwnt i ddiweddeb. Mae y cywair llon cyntaf yn cael ei ddefnyddio yn helaeth yn y dull hwn mewn hymn-donau, yn cymeryd i fyny yr ail neu drydedd linell yn fynych, ac weithiau y rhan fwyaf o'r ddwy. Gwel Ym. 135, 136, 137, 140. Anaml y defnyddir y cywair lleddf cyntaf fel hyn mewn tonau sydd mewn arferiad cyffredin. Peth anghynefin ydyw cael y fath esiampl o hono ag y mae Handel yn ei rhoi yn Ym. 143.

**Yr Ymarferiadau.**—Dylid dysgu yn dda, oddiwrth y modulator, yr holl drawsgyweiriadau blaenorol a'r holl rai mwyaf anhawdd sydd yn canlyn. Os na wneir hyn, bydd trawsgyweiriad yn dyfod yn beth dyrus, yn lle yn beth prydferth a hyfryd i'r dysgybl.

**Coll-Drawsgyweiriadau.**—Os bydd un rhan yn ddistaw tra bydd un arall yn newid y cyweirnod ddwywaith—pan y mae yn dod i mewn, y mae y ddwy sain drosglwyddiadol yn cael eu rhoi fel hyn, ᵐd. Cymer y canwr ei sain oddiwrth y rhanau ereill.

## BYDD I NI'N BLAID, O IESU. *A.L.C*

Ym. 135. cy. E. *Yn dyner.* M. 50. Y geiriau gan E.R. Efel.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :d | m :r | m :l | s :f | m :l | s :f | m :r | m :— | — |
| *1. Bydd* | *i ni'n* | *blaid O* | *Ies - -* | *u, Tra* | *yn y* | *byd yn* | *byw,* | |
| :d | d :$t_1$ | d :f | m :r | d :f | m :r | d :$t_1$ | d :— | — |
| 2. Ar- | wein - ia | ni O | Fu - - | gail, At | ddyfr - oedd | taw - el | clir, | |

B. t. f. E.

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :ˢd | r :m | f :m | r :— | d :ˡm | f :m | r :r | d :— | — |
| *Bob* | *dydd mae'n* | *ceis - io'n* | *dryg -* | *u El -* | *yn - ion* | *o bob* | *rhyw.* | |
| :ˢ$_1$$d_1$ | $t_2$ :$d_1$ | $l_1$ :$s_1$ | $f_1$ :— | $m_1$ :ᶠd | $t_1$ :d | $f_1$ :s | d :— | — |
| Ac | at bor - | fe - ydd | gwellt - | og Sy'n | tyf - u | ar dy | dir. | |

3 Rho i ni ddysg, O Athraw,
Yn mhob doethineb gwir,
Fel gallom hwylio'n gywir,
Nes cyrhaedd nefol dir.

4 O Dad gad i ni ddyfod
Fry yna atat ti,
Cael gyda Thi a'r Iesu
Fyw byth, O gad i ni.

## TRA BO'R IESU'N FUGAIL IM. *A. Stone.*

Ym. 136. cy. F. C. t. Y geiriau gan E. R. Efel.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| d :r | m :m | f :m | r :— | ᵐl :t | d' :r' | m' :r' | d' :— |
| 1.Tra bo'r | Ies - u'n | fu - gail | im | Ni fydd | ar - naf | eis - ieu | dim. |
| d :$t_1$ | d :d | $l_1$ :d | t :— | ᵈf :r | m :f | s :f | m :— |
| 2.Dych-wel | Pen - aid | trist yn | ol | O fy | holl grwydr | -iad - au | ffol; |

*Cyf. Saf.* (*New.*)

f. F.

| ˡm :m | f :f | r :r | m :— | s :f | m :r | d :t₁ | d :— |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Mi gaf* | *bor - fa* | *fras ger -* | *llaw* | *'R dyfr-oedd* | *taw - el* | *gloe - w* | *draw.* |
| ᶠd :d | r :r | t₁ :s₁ | d :— | m :r | d :f₁ | s₁ :-.f₁ | m₁ :— |
| Ar hyd | llwybr-au | un - iawn | braf, | Mwy fy | ar - wain | gan - ddo | gaf. |

3 *Ie, pan fydd raid myn'd trwy*
*Hen lyn cysgod angeu mwy,*
AF, HEB OFNI—GYDA THI
NI DDAW NIWED BYTH I MI.

## GWROLDEB.

Y gerddoriaeth gan *A. L. C.*
Y geiriau gan E. R.

Ym. 137. CY. B♭. *Yn hyf.* M 120.

| s₁ :-.s₁ \| s₁ :l₁.t₁ | d :— \| t₁ : | s₁ :-.s₁ \| l₁.t₁ :d .r | m :— \| r : |
|---|---|---|---|
| Beidd - iaf bob per - | ygl - on, | Beidd - iaf fy ngel- | yn - ion, |
| s₁ :-.f₁ \| m₁ :r₁ | d₁ :m₁ \| s₁ : | f₁ :-.f₁ \| f₁ :m₁.r₁ | d₁ :d \| t₁ : |

F. t.

| r :-.d \| t₁.d :r .m | f :— \| f : | ᶠᵉt :-.t \| t :t | d' :— \| d :— |
|---|---|---|---|
| Gyd - a'm Duw, yn | ë - - on | Bydd - af yn eu | can - ol. |
| t₁ :-.l₁ \| s₁ :f₁.m₁ | r₁ :— \| r : | ʳs :-.s \| s :f | m :— \| d :— |

f. B♭.

| ᶠd :-.t₁ \| r :d | t₁ :— \| l₁ : | m :-.r \| f :m | r :— \| d :— |
|---|---|---|---|
| Yn yr awr dy - | wyll - af, | Pan fo'r cwm-wl | ddu - af, |
| ˡ₁m :-.s₁ \| f₁ :m₁ | f₁ :— \| f₁ : | d :-.t₁ \| l₁ :s₁ | f₁ :— \| m₁ :— |

| d :-.r \| m :f | s :— \| l : | t₁.t₁ :— \| f.f :— | m.d :— \| — :— |
|---|---|---|---|
| Et - o'n groch mi | waedd - af, | F'enaid! bydd yn | wr-ol. |
| d :-.t₁ \| d :l₁ | m₁ :— \| f₁ : | s₁.s₁ :— \| s₁.s₁ :— | s₁.m₁ :— \| — :— |

2 F'enaid cod, ymsytha,
Na fydd ysgyfala,* [*difraw.
Gwneled pawb ei waetha',
Troir hwynt yn eu gwrthol.
Paid am fynyd ofni,
Dal dy ben i fynu,
Byddi'n siwr o orchfygu,
F'enaid, bydd yn wrol.

3 Cadarn a diildio,
Codi ar ol syrthio,
Ymladd er diffygio,
Dyna ddewrder dynol;
Gwynt a thonau heria,
Ar dy Dduw hydera,
Byth na wangalona,
F'enaid, bydd yn wrol.

*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. 138. Ymarferer hwn nes y gellir cymeryd y ddwy sill (*A* a *men*) ar un anadl. *Mainzer.*




## O CWSG YN DAWEL, BLENTYN CU. *A.L.C.*

Ym. 139. cy. D. *Yn dyner.* M. 90. Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*

## MAE BRODYR I MI.

Y dôn "Dublin."

Ym. 140. cy. G. D. t.

:m | m :s :f | m :r :d | r :l₁ :t₁ | d :— :ʳs
1. Mae | bro - - dyr | i mi | aeth yn | mlaen, Yn
:d | d :t₁ :l₁ | s₁ :— :l₁ | f₁ :— :f₁ | m₁ :— :t₁m
2. Mae | pawb o'r | bro - dyr | yn - o'n | un, Heb

| l :t :d¹ | f :m :r | d :— :ᶠd | r :— :m | f :— :m
| holl iach | a chy- | tun, Deng | mil o | fil - oedd
| f :— :m | r :d :t₁ | d :— :m₁l₁ | s₁ :— :d | l₁ :t₁ :d
| neb yn | tyn - u'n | groes; Yn | mol - i'r | Duw - dod

| r :m :d | d :t₁ :s₁ | s :f :m | r :l₁ t₁ | d :—
| yw eu | cân, Er | hyn nid | yw ond | un.
| s₁ :— :l₁ | s₁ :— :s₁ | t₁ :— :d | f₁ :— :f₁ | m₁ :—
| yn y | dyn, *A* | *chof - io* | *ang - eu* | *loes.*

3 Ni theimlir yno unrhyw boen,
Na chwyno gan un clwy,
Ond pawb mewn hwyl yn moli'r Oen
I dragwyddoldeb mwy.

4 Daw'r holl dduwiolion yno'n nghyd,
O'r gogledd, de, heb rhi,
A'u holl gadwynau'n chwilfriw man,
A'u can am Galfari.

## HALELIWIA.

Ym. 141. cy. C. M. 72. *Naterp.*

| d :— | m :— | s :s | : | d¹ :— | ta :— | ta :l | :
| Hal - e - - | liw - ia, | Hal - e - - | liw - ia,
| d :— | .d :— | m :m | : | d :r | m :— | f :f | :

*f* *ff*
| r¹ :— | d¹ :— | d¹ :t | : | f¹ :— | f¹ :— | m¹ :— | f¹ :
| Hal - e - - | liw - ia, | Hal - e - - | liw - ia,
| r :m | fe :— | s :s | : | s :l | t :— | d¹ :— | f :

| f¹ :— | m¹ :— | r¹ :— | — :— | d¹ :— | :
| Hal - - e - - | liw - - - - - - | ia.
| f :— | d¹ :— | s :— | — :— | d :— | :

*Cyf. Saf. (New.)*

## AMDDIFYNAIST NI.

Ym. 142. cy. B♭. M. 58. Y geiriau gan E. R. Efel.

```
s, :d |t, :d |r :d.t, |d :d |m :m |r.d :t, |l, :l, |s, :—
1. Am-ddi - ffyn - aist ni O Ar - glwydd, Mewn tir - ion - deb trwy y dydd,
m, :m, |s, :l, |f, :s, |m, :m, |d :d |t,.l, :s, |s, :fe |s, :—
2. Per-er - in - ion ar y ddae - ar, Ym yn mysg gel - yn - ion cas;

s, :d |t, :d |r :d.t, |d :d |m :m |r .d :t, |l, :l, |s, :—
Hen - o et - o pan yn hun - o, Yn warch-eid - wad i ni bydd;
m, :m, |s, :l, |f, :s, |m, :m, |d :d |t,.l, :s, |s, :fe, |s, :—
Cad - w ni, O Ies - u tir - ion, Yn ddy - o - gel trwy dy ras;

d :ta, |l, :l, |r :d |t, :— |d :r |m :f |m :r |d :—
Nid oes dim a'n dryg - a ni, Pan o dan dy a - den di.
d, :m, |f, :f, |r, :fe |s, :— |m, :f, |s, :l, |s, :s, |d :—
A phan ddar-fydd - o'n taith trwy'r byd, Gad i'n' ddod i'th fyn - wes glyd.
```

## MAWR IAWN YW DUW.

*Handel.*

Ym. 143. cy. F. f. B♭. Y geiriau gan E. R. Efel.

```
d :m :f |s :— :d's |f :— :m |r :— :m |l, :t, :d
1. Mawr iawn yw Duw, rhown idd - o glod, Ei waith rhy -
d :d :r |m :— :mt, |l, :— :d |s, :— :d, |f, :r, :m,
2. Mawr iawn yw ei dir - ion - deb Ef, Mae'n porth - i

                       F. t.
d .,r :m :r |d :— :— ||t,m :s .f :m |m :r :d |d' :t .l :s .f
fedd - ol yw, Boed i holl gyn - ull - eid fa'i
m, .,f, :s, :s, |d, :— :— ||s,d :m .r :d |d :t, :d |m :f :m .r
pob peth byw; Llais pob cre - a - dur yn mhob

m :r :m |l, :t, :d |d .,r :m :r |d :— :— ||
saint Ei fol - i tra bont byw.
d :t, :d .m, |f, :— :m, |l, :s, :s, |d :— :— ||
man Ddyr-chef - ir fry at Dduw.
```

## PAN YN MYN'D DROS GENNESARET.

*A. L. C.*

Ym. 144. cy. B♭. M. 72. Y geiriau gan E. R. Efel.

```
m :r :d |t, :l, :s, |l, :— :t |d :— :— |s, :l, :ta,
1. Pan yn myn'd dros Gen - ne - sar - et, T'wyllwch a
d, :r, :m, |f, :— :m, |f, :— :s,.f, |m, :— :— |m, :f, :s,
2. Di - angc a wnaeth yr ad - ar bach, 'Hed - eg y
```

*Cyf. Saf. (New.)*







3 Eto gerllaw y llyn mae un
'N araf ymlwybro hyd y lle;
Ie, defnynu y mae gwlith
Nos ar ei ben dinodded E'.

4 Pam na phrysura tua thre?
Amser i orphwys yw yn awr;
Pawb sydd yn myn'd i'w lloches glyd:
Hwn ni fedd le i roi ben i lawr!

5 Dyma y rhan ddewisodd Ef,
Fel y caem ni bob esmwythâd;
Trwy ei dylodi ef fe gaed
Cyfoeth i ddynolryw yn rhad.

## RWY'N CARU NGHARIAD.

*A.L.C.*

Ym. 145. CY. C. M. 88, *ddwywaith i'r mesur.* Y geiriau gan E. R. Efel.












**Taro Tonau.**—Mae'n debyg fod y dysgybl bellach yn meddu ar seinfforch C$^{l}$, ond ni ddylai hyny ei rwystro (ond yn hytrach ei symbylu) i ymarfer yn barhaus i geisio cofio "un C" (C), fel y cynghorir yn tudal. 31. Wrth daro y sain F, y mae yn fanteisiol i dybied y C$^{l}$ yn **s**, a *syrthio* ar y cyweirnod fel hyn, **s m d.** Ni theimla y dysgybl yn angenrheidiol yn awr i redeg i lawr at G, ond disgyna arno ar unwaith o'r C$^{l}$. Gellir taro E trwy ddisgyn ar **m**, fel hyn, C$^{l}$d$^{l}$ **s m** – $^{m}$**d**. Gellir taro A trwy ddisgyn ar **l**, fel hyn, C$^{l}$d$^{l}$ **l**–$^{l}$**d**. Gellir taro D fel hyn, C$^{l}$d$^{l}$ r$^{l}$–$^{r}$$^{l}$d$^{l}$. Gellir taro y cyweirnod ychydig yn uwch (yn fwy llon) neu ychydig yn is (yn fwy lleddf) na'r un o seiniau y raddfa sefydlog mewn graddeg, (tudal. 31). Y seiniau a ofynir fel hyn ydynt "F lon," "E leddf," &c., ac y mae yr arwyddnod ♭ yn dynodi "lleddf," a ♯ "llon." Nid yw sain lon yn dwyn un berthynas a'r sain odditani, ac ar ol pa un, er mwyn cyfleusdra, yr enwir hi, ond y mae yn dal perthynas â'r sain uwchlaw iddi. I'r sain hono y mae yn is-ris bychan, fel y mae y t$_{l}$ i'r **d**. Y mae fel y **f** mewn trawsgyweiriad yn cael ei newid i **fe**. Er mwyn ei tharo yn gywir, yr ydym yn canu y sain uwchlaw, ac yna yn disgyn yn esmwyth un cam bychan ati. Nid yw y sain leddf yn dal un berthynas â'r sain sydd uwchlaw iddi, ac ar ol pa un y mae yn cael ei henwi. Uwch-gam bychan ydyw (fel o **f** i **m**) i'r sain uwchlaw. Y mae fel y **t** mewn trawsgyweiriad yn cael ei newid i **ta**. Er mwyn ei tharo yn gywir pan fydd y cyweirnod yn A♭, G♭, a D♭, dylem ganu y sain islaw, ac yna codi ati un cam bychan. Ond yn y cyweirnodau mwy arferedig B♭ ac E♭, y mae yn haws ac yn sicrach i daro fel hyn:—Am B♭ tybier mai **s** ydyw y C$^{l}$, a chaner **s f** – $^{f}$**d.** Am E♭ tybier mai **l** ydyw, a choder o gam i gam i **d**$^{l}$ fel hyn, C$^{l}$**l** – **t d**$^{l}$.

**Datganiad.**—Mae y gelfyddyd o ddatganu, neu adrodd ar un sain, yn un bur anhawdd, ond tra phrydferth. Y mae datganiad pur a chywir, gan wneyd i bob gair sefyll allan, megys mewn lliwiau dysglaer, o'ch blaen, yn meddu ar swyn anghyffredin hyd yn nod mewn siarad cyffredin, ond pan y mae un yn gwrando ar lafar eglur rhyw ganwr mawr, y mae geiriau yn ymddangos fel hen ffrindiau wedi eu gwisgo mewn prydferthwch tarawiadol, ac wedi eu hysbrydoli gan allu newydd. Y mae datganiad da yn dibynu ar efrydiaeth ac ymarferiad o'r mydrau, pwysleisiau, a'r seibiau, (neu ddyspeidiau) mwyaf cyfaddas, er iawn osod allan ystyr geiriau; ac ar feistrolaeth lwyr, ac ymarferiad gofalus, o'r cydseiniaid a'r llafariaid mewn siarad. Y mae pwysleisiad geiriau yn perthyn i areithyddiaeth yn hytrach nag i ganu. Y mae y dewisiad o aceniad hefyd, mewn geiriau a drefnir i gerddoriaeth, yn perthyn i'r cyfansoddwr yn hytrach nag i'r canwr. Fe ddysga'r dysgybl yr amrywiaeth mydr wrth efrydu treithganiadaeth. Ond y mae y cydseiniaid a'r llafariaid, toriadau ac estyniadau y llais, yn bethau priodol i'r canwr eu dysgu. O'r rhai hyn y llafariaid neu y parhad-seiniau ydynt y mwyaf pwysig i'r canwr, oblegid arnynt hwy yn

unig y gellir parhau sain dda, ac y mae pob bai sydd yn perthyn i ddyn yn ei waith yn swnio y llafariaid yn cael ei fwyhau y foment yr â i ganu. Ond y mae y llafariaid wedi eu hymarfer i ryw fesur mewn cysylltiad a'r llais-ymarferiadau, ac fe'u hefrydir yn fwy manwl yn y gris nesaf. Heblaw hyny, wrth alw sylw y dysgybl am y waith gyntaf at weithrediad ei beirianau lleisiol, y mae yn haws dechreu gyda'r cydseiniaid. Wrth ddarparu y cynllun o ymarferiadau yn y llyfr hwn, ar gyfer yr iaith Seisnig, y mae yr awdwr wedi derbyn cynorthwy mawr trwy ei hen efrydiaethau yn ngwaith Dr. Rush ar y Llais, a "Siarad Gweledig" a "Geiriadur Seiniau" Mr. Melville Bell. Ond cafodd ei brif help oddiwrth gynorthwy personol caredig ac amyneddgar Mr. Alexander J. Ellis, awdwr y "Seinebiaeth Seisnig," "Seiniadaeth Foreuol Seisnig," a gweithiau ereill.

**Cynaniad neu Dafodiad.**—Ystyr y gair Seisnig *articulation* ydyw cymal. Y mae cymal yn awgrymu gwahaniad, yn gystal a chysylltiad seiniau llafaredig. Gall y gwefusau ddod i wrthgyfarfyddiad â'u gilydd, neu gall y wefus gyffwrdd â'r danedd uchaf, neu gall y tafod gyffwrdd â'r danedd neu daflod y genau. Fel hyn y gall ataliad hollol neu mewn rhan gymeryd lle ar sain y llafariaid. Ac y mae yr ysgar-leoedd hyn hefyd yn cael eu gwneyd yn lleoedd cysylltiad. Y maent yn gymalau neu *articulations*, a'r cymalau hyn ydynt y cydseiniaid.

*Ansoddau Cynaniad.*—Os bydd i'r efrydydd gynyrchu yn gryf P a B heb unrhyw lafariad yn eu dilyn, megys yn *chwi-p, la-b*, fe genfydd yn fuan fod P yn meddu ar ansawdd caled, ac nad yw yn rhoi dim ond anadl, fod B yn meddu ansawdd feddalach, a rhyw gymaint o lais ynddi. Mewn gwirionedd, y mae y *larynx* yn cymeryd rhan yn y weithred o gynaniad. Gellir canfod yr un gwahaniaeth yn hawdd rhwng y cydseiniaid blaendafodol T, megys yn *su-t*, a D yn *ma-d*, a rhwng y cydseiniaid ol-dafodol C, megys yn *du-c*, ac G, megys yn *cê-g*. Yr ydym yn bwriadu galw y rhai hyn yn ddwy ansawdd cynaniaeth, sef yr un anadliol a'r leisiol.

*Gwahanol ddulliau Cynaniaeth.*—Os bydd i'r efrydydd seinio yn ofalus y cydseiniaid gwefusol P, megys yn y gair *chwi-p*, a chyda defnydd y danedd yr FF, megys yn *chwi-ff*, fe genfydd yn fuan fod y gwefusau wrth gynyrchu P yn *cau* mynedfa yr anadl; ac yn FF, eu bod yn gorfodi yr anadl i weithio ei ffordd trwy y manau agored ar bob tu y pwynt o uniad. Y mae yn hawdd sylwi ar yr un gwahaniaeth mynediad, wrth gynyrchu y cydseiniad blaen-dafodol T (gyda mynedfa cauedig), megys yn *he-t*, yr S (gydag agoriad canolog), megys yn *ca-s*, yr SH Seisnig (canolog), megys yn *la-sh*, neu weithiau y geiriau Cymraeg ei*si*au, cei*si*o, ac TH (gydag agoriadau ochrol), megys yn *pe-th;* ac yn y cydseiniad cefn-dafodol C (cauedig), megys yn *lla-c*, a'r canol-dafodol I, pan yn meddu ansawdd cydseiniad, megys yn *i-awn*. Y mae hefyd ysgogiad dirgrynol blaen y tafod am yr R Gymreig, megys yn y gair *hè-r*; a dull neillduol o gynanu a elwir y trwynol, yn yr hwn y mae y llais yn adseinio yn y trwyn, megys gyda'r M, N, NG. Yr ydym yn bwriadu galw y rhai hyn y pum dull o gynanu, sef cauedig, canolog, ochrol, dirgrynol, a thrwynol.

*Peirianau Cynaniad neu Gydseiniad.*—Mae cyhyrau cynaniad yn trigo yn benaf yn y gwefusau a'r tafod, oblegyd y mae'r danedd a thaflod y genau i fesur yn sefydlog. Mae y gwaith i gael ei wneyd gan y gwefusau neu gan flaen, canol, neu fôn y tafod. Gallwn alw y gwefusau, blaen, canol, a bôn y tafod, yn bedwar peiriant cynaniad. Mae y peirianau, y dulliau, a'r ansoddau hyn, yn cynyrchu a ganlyn:—

Mae y cydseiniaid gwefusol P, B, W, ac M, yn hawdd eu deall. Ond fe welir yn yr FF a'r F fod y danedd uchaf yn actio gyda'r gwefusau isaf i wneyd y cynaniad.

Fe ddeallir y cydseiniaid blaen-dafodol T, D, LL, L, N, a'r R ddirgrynol, yn bur hawdd. Am yr TH a'r DD, fe ganfyddir fod blaen y tafod yn actio yn erbyn y danedd. Yn yr CH y mae yr anadl yn chwareu yn y gwddf. Y mae S, y Z (Seisnig), y SH (Seisnig), a'r ZH (Seisnig, sef y sain a glywir yn y gair "*vision*,") yn gofyn blaen a chanol y tafod, y danedd a'r gwefusau hefyd, yn gyffredin, yn actio. Y mae S a Z yn defnyddio y blaen yn fwy pendant na'r SH a'r ZH. Mae y llythyrenau DD (a'r ZH Seisnig) yn cael edrych arnynt fel ffurfiau meddal TH (ac SH Seisnig).

**Yr Ebychiad H** ydyw swn yr anadl yn cael ei ymlid yn gyflym trwy y *larynx* agored. Y mae ei ymwthiad yn dyfod o'r llawr cyhyrol ar ba un y mae yr ysgyfaint yn gorphwys.

## TAFLEN O'R CYDSEINIAID CYMREIG A SEISNIG.

| | GWEFUSAU. | | | BLAEN Y TAFOD. | | | | BON Y TAFOD. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | Gwefusau. | Dannedd. | | Taflod y Genau. | Canol y Tafod. | | | |
| *CAUEDIG.* | | | | | | | | |
| Anadl | P *pwy* | — | — | T *tew* | — | — | — | C *cawn* |
| Llais | B *bu* | — | — | D *du* | — | — | — | G *gen* |
| *CANOLOG.* | | | | | | | | |
| Anadl | — | — | — | — | S *Sul* | SH rush | YH hew *(yheu)* | — |
| Llais | W *wedd* | — | — | — | Z *zel* | ZH rouge *(roosh)* | Y you *ac iawn* | — |
| *OCHROL.* | | | | | | | | |
| Anadl | — | PH *pheth a* feel | TH *thithau* | — | — | — | — | — |
| Llais | — | F *fel* | DD *ddaear* | L ac LL *law llaw* | — | — | — | — |
| *DIRGRYNOL.* | | | | | | | | |
| Anadl | — | — | — | RH *rhew* | — | — | — | — |
| Llais | — | — | — | R *hèr* | — | — | — | — |
| *TRWYNOL.* | | | | | | | | |
| Llais | M *am* | — | — | N *gwn* | — | — | — | NG *ing* |

Ffurfir yr CH Gymreig yn y gwddf.

**Pa fodd i ganu Cydseiniad.**—Ond efrydu y daflen uchod fe welir mor ychydig sydd yn y cydseiniaid y gellir eu canu. Nid oes i'r cydseiniaid anadliol gyda'r ystum gauedig P, T, C, ddim swn. Nis gellir canu yr anadliadau FF, TH, S, SH, RH, CH, o gwbl, a dylid eu gwneyd mor fyr ag y mae'n bosibl; y mae y sisialau W, F, DD, Z, ZH, Y (Seisnig, ac I gydseiniol Gymreig,) yn dra annymunol pan yn cael eu parhau, er fod yn bosibl eu canu rywsut; mae y cydseiniaid lleisiol, gydag ystum gauedig B, D, G, yn llawer rhy wasgedig i'w canu, ac er y gellir murmur neu fwmian L, LL, R, M, N, ac NG, eto nis gellir eu canu yn briodol. Wrth basio, pa fodd bynag, o gydseiniad i lafariad, ac o lafariad i gydseiniad, hyny yw, o un safle sefydlog i un arall, y mae y peiriannau o angenrheidrwydd yn ymffurfio i nifer afrifed o ystumiau cyfryngddynt, a chan fod llais yn cael ei roi allan yn ystod y cyfnewidiad, y mae sain amrywiadol yn cael ei gynyrchu, yr hwn a ellir ei alw yn Llithriad. Nid llithriad mewn graddeg neu uchder sain ydyw hwn, ond yn ansoddau y llafariaid. Nid yw y peirianau llafar yn cyfnewid llawer, ac nid oes, mewn cymhariaeth, ond ychydig o lithriad rhwng *b* ac *w*, ond y mae cyfnewidiad mawr yn y peirianau, a llithriad mawr o *b* i *i*. Gellir canfod yr un gwahaniaeth rhwng y llithriadau o *c* i *ê*, ac o *c* i *ô*. Dylid sylwi tra bo unrhyw ddwy sain, er engraifft *m* ac *i*, yn cael eu cadw ar wahan, pa mor agos bynag y gosodir hwynt at eu gilydd, nad oes yno ddim sill. Y llithriad sydd yn gwneyd seiniau yn sillau. Y mae yr ymarferiad, gan hyny, o ganu cydseiniaid, yn gyfansoddedig o wneyd y llithriad yma yn eglur trwy *agor y genau yn dda* i'r llafariaid, a'i gau yn dda i'r cydseiniaid. Y mae pob gwir eglurder mewn canu yn dibynu ar y dull y mae y canwr yn dwyn allan y llithriad, gan gymeryd gofal i beidio dwyn pwffiadau i mewn, nac i hwyhau hysiadau a sisialau. Ar hyn, gan hyny, y ceisia sefydlu ei sylw.

*Cyf. Saf.* (*New.*)

[**Camseinio y Llafariaid.***—Er fod yr iaith Gymraeg yn tra rhagori ar y Saesonaeg yn y ffaith fod ymron yr holl o'r llythyrenau yn cael eu sain briodol mewn gair, eto y mae rhai yn seinio y llafariaid yn dra anghywir, ac y mae hyny yn fwy annumunol fyth pan y mae y geiriau hyny yn cael eu camseinio wrth *ganu*. Gyda'r eithriad o'r llafariad *y*, dylai pob llythyren mewn gair gael ei sain briodol ei hun.

* Y cyfieithydd sydd gyfrifol am yr hyn sydd rhwng cromfachau.

Ym. 146. *Y Llafariad "a."*—Eler yn fanwl dros y geiriau lle y mae y llafariad *a* ynddynt, megys *car*, &c., a gofaler peidio eu swnio yn *ciar*, &c. Gofaler hefyd i beidio rhoi *o* lle y dylai *a* fod. Dywed rhai *mowr*, *mowrion*, *cowri*, &c., yn lle *mawr*, *mawrion*, *cawri*. Na ddyweder *dafod* yn lle *dafad* ychwaith, *pethe* yn lle *pethau*, *iech* yn lle *iach*, &c.

Ym. 147. *Y llafariad "e."*—Mynych iawn y clywir y lythyren *e* yn cael ei newid am ryw lythyren arall Dyweder y fath eiriau a *caseg*, *pellen*, *angel*, *tragwyddoldeb*, *effro*, *deffro*, &c., a gofaler na fo neb yn y dosbarth yn eu swnio yn *casag*, *pellan*, *angal*, *iffro*, *diffro*, &c. Gofaler na fo'r gair *mewn* yn cael ei drawsffurfio i *miawn* gan neb yn y dosbarth. Mynych y dodir *e* yn y gair *Calfaria*, gan ei wneyd yn *Caelfaria*.

Ym. 148. *Y Llafariad "i."* Eler dros luaws o eiriau lle y mae yr *i* yn cael ei chamseinio, megys *bendythio* yn lle *bendithio*, *bendythion* yn lle *bendithion*, *eulun* yn lle *eilun*, *Crust* yn lle *Crist*. Weithiau fe adawir sain yr *i* allan, a dywedir *dynon*, *meibon*, &c., yn lle *dynion*, *meibion*.

Ym. 149. *Y Llafariad "o."* Eler dros luaws o eiriau fel y rhai canlynol, *ton*, *bon*, *mon*, *Shon*, &c., a gofaler peidio rhoddi y sain Seisneigaidd *aw* i'r *o*, a'n swnio fel pe geiriau Seisnig fyddent, fel hyn: *tawn*, *bawn*, *mawn*, *Shawn*, &c. Dyweder y geiriau *coronau*, *honot*, *hebddot*, &c., yn gywir, nid yn *coranau*, *honat*, *hebddat*, &c.

Ym. 150. *Y Llafariad "u."*—Nid oes un llafariad yn cael mwy o gam na'r *u*. Eler dros y fath eiriau a'r rhai canlynol yn ofalus, megys *dymuno*, *unig*, *achubwr*, *egluro*, ac na chamseinir hwynt yn *dymyno*, *ynig*, *achybwr*, *eglyro*. Na newidier yr *u* yn *i*, megys *ci* yn lle *cu*, *mil* yn lle *mul*, *trigaredd* yn lle *trugaredd*, *trigarhau* yn lle *trugarhau*, *pir* yn lle *pur*, *hino* yn lle *huno*, *Diw* yn lle *Duw*. Gofaler hefyd beidio gadael yr *u* allan yn y fath eiriau a hyn: *pethau*, *geiriau*, *hithau*, &c., a'u swnio yn *petha*, *geiria*, *hitha*, &c. Dyweder *eilunod* hefyd, ac nid *eulynod*.

Ym. 151. *Y Llafariad "w."*—Gofaler peidio gadael yr *w* allan yn y fath eiriau a *gwlyb*, *gwlaw*, *gwlan*, *gwlychu*, *gwraig*, *gwialen*, &c., a'u seinio fel hyn: *glyb*, *glaw*, *glan*, *glychu*, *graig*, *gialen*, &c.

Ym. 152. *Y Llafariad "y."* Nid yw yr *y* bob amser yn cael ei sain briodol ei hun; ond gofaler ei bod yn cael ei seinio yn briodol yn y fath eiriau a'r rhai canlynol: *dy*, *myn*, *rhyddhâd*, *tympan*, *prydferth*, ac na seinier y geiriau fel hyn, *du*, *mun*, *rhuddhad*, *tumpan*. Pan nad yw yr *y* yn cael ei sain briodol mewn gair, y mae yn cael y sain *u*, ond y mae yn fynych iawn yn dra anmhriodol yn y cyfryw amgylchiad yn cael ei seinio yn *i*, *dyn*, *fry*, *obry*, *englyn*, *ty*, *pryf*, &c. yn dyfod yn *din*, *fri*, *obri*, *englin*, *ti*, *prif*, &c.

Y mae lluaws o'r deuseiniaid a'r triseiniaid yn cael eu camseinio gan drigolion gwahanol barthau o'r dywysogaeth, ond nid oes ond eisieu gofalu rhoddi i'r llythyrenau eu seiniau priodol eu hunain, gyda'r eithriad a nodwyd, ac fe swnir y geiriau yn gywir. Gofaled pawb wrth ganu hefyd i beidio dodi llythyren mewn gair pan nad yw i fod ynddo, nac ychwaith i adael ei swn allan pan y mae i fod i mewn, ac yna ni chlywir neb yn dyweyd *hollt* am *holl*, *Holltalluog* am *Hollalluog*, nac ychwaith *gole*, *ange*, *gore*, am *goleu*, *angeu*, *goreu*.]

**Cyd-ddarllen.**—Dylai yr arferiad hwn, yr hwn a ddechreuwyd yn yr ail ris, tudal. 17, gael ei barhau gyda gofal a dyfalwch mawr.

**Curiadau ac Aceniadau mewn Siarad Cyhoeddus.**—Gall y neb a wrandawo ar siaradwr da sylwi fod *curiadau* ei araeth yn gyfartal o ran hyd, ac yn dygwydd yn rheolaidd fel rhai cerddoriaeth, ond fod ganddo fwy o ryddid *aceniad*. Y mae ei aceniadau yn disgyn weithiau fel ag i ranu y curiadau i'r mesur tri churiad, ond yn fwy cyffredin i fesur dau guriad. Y mae rhai siaradwyr cyhoeddus yn curo amser gyda'u llaw pan yn siarad, ac nid oes dim yn aflonyddu ar reoleidd-dra yr ysgogiadau, ond dygiad i mewn achlysurol y mesur tri churiad, fel hyn. Mewn barddoniaeth neu mewn cerddoriaeth, os dechreuir yn y mesur dau guriad, neu y mesur tri churiad, rhaid i ni barhau ynddo. Ond mewn rhyddiaith y mae y mesur dau a thri churiad yn cael eu cymysgu yn barhaus yn yr un linell. Bydded i'r dysgybl geisio siarad, mewn ton areithyddol glir, a chyda phwyslais priodol, y geiriau canlynol, a marcio y curiadau, ac aceniadau ei lais, fel y bydd yn gwneyd, a buan y dealla ein meddwl. "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Ni a adawn y geiriau "'wyllys da" allan o ystyriaeth yn bresenol, oblegid wrth dreithganu hwy a berthynant i'r diweddeb, ac y mae y diweddeb yn gerddoriaeth fydryddol, ac nid yn ddatganiad.

Os datganwn ni y geiriau hyn ar un sain gerddorol, y mae yn debyg yr ymffurfiant fel hyn :—

| | Mesur dau-guriad. | Mesur dau-guriad. |
|---|---|---|
| : .l | l .l : l .l .l | l .l : l |
| Go - | gon-iant yn y gor- | uch-af i |

| Mesur tri-churiad. | Mesur dau-guriad. |
|---|---|
| l : .l : l .l | l .l : l |
| Dduw, ac ar y | ddae-ar tang- |

| Mesur dau-guriad. | Mesur dau-guriad. |
|---|---|
| l .l : l | l .l : l |
| nef - edd, i | ddynion ew - |

Yma fe welir fod y mesurau i gyd ond un o ddau guriad; y mae yr un arall yn y mesur tri-churiad. Yr oedd i rai o'r hen dreithganau ddiweddebau neu derfyniadau tri-churiadol, ond yn y rhan ddatganiadol y mae dygwyddiad mynych y mesur tri-churiad yn hawdd ei ganfod i'r sylwgar. Y mae hyd yn nod yr atebiaethau tra adnabyddus canlynol yn dangos y duedd sydd at fesurau cymysg siarad yn hytrach nag at fesurau digyfnewid caniadaeth. Yr ydym yn eu rhoi yma mewn amrywiol ffurfiau, fel yr ydym yn eu cael mewn arferiad yn y gwahanol eglwysi cadeiriol. Yn y ffurf dri-churiadol gallwn sylwi ar *drymedd* yr ail guriad pan y mae yn cael ei ganu yn araf. Bydded i bob engraifft gael ei chanu mewn amser a chydag acen briodol. [Ni a ddefnyddiwn y geiriau Seisnig] :—

CY. F.

| d : — | $l_1$ : $t_1$ | d : — |
|---|---|---|
| Spare | us good | Lord. |

CY. F.

| d : $l_1$ : $t_1$ | d : — |
|---|---|
| Spare us good | Lord. |

CY. A.

| d .d : d | d : —.d | $l_1$ .$l_1$ : $t_1$ | d : — |
|---|---|---|---|
| We beseech | thee to | hear us good | Lord. |

CY. A.

| :d .d | d : d .d | d : $l_1$ : $t_1$ | d : — |
|---|---|---|---|
| We be- | seech thee to | hear us good | Lord. |

*Cyf. Saf. (New.)*

CY. G.

| :d | d d .d | d : —.$l_1$ | $l_1$ : — |
|---|---|---|---|
| And | bless thine in- | -her - i - | tance. |

CY. G.

| :d | d :d : — .$t_1$ | $l_1$ .$l_1$ : $l_1$ |
|---|---|---|
| And | bless thine in- | her-i - tance. |

Ac wrth ddatganu "Thou art the everlasting Son," fe addef pawb mai gwell ydyw arfer y mesur tri-churiad fel hyn—

| Thou : art the : ever | last : ing | Son—

na chanu fel hyn—

| Thou : art-the | ever : lasting | Son—

**Treithganu.**—Amcan y dreithgan ydyw cynorthwyo y bobl i ganu rhyddiaith gyda'u gilydd. Y mae, gan hyny, yn rhoi un sain i'r datganiad neu'r adroddiad, ac adran gerddorol fer i ddiweddeb pob llinell o'r geiriau. Y mae diweddeb melodaidd yn niwodd brawddegau yn naturiol i siaradwyr cyhoeddus, pan y codant i agwedd gyffrous o ran eu meddyliau, pa un ai pysgod-wragedd Billingsgate, neu bregethwyr wrth derfynu eu pregethau rhwng mynyddoedd Cymru neu Ysgotland, neu hyd y nod weinidogion Cymdeithas y Cyfeillion yn siarad neu yn gweddio dan ddwys deimlad. Gall y sain dreithiadol neu ddatganiadol fod mor hir neu fer ag y bo'r geiriau yn gofyn. Y mae yn cael ei dangos trwy'r dalnod 𝄐 yn cael ei osod uwchben y nodyn. Dylai yr amrywiaeth yma yn hyd y sain dreithiadol gael ei gadw bob amser mewn cof gan y chwareuwr yn gystal a'r canwr. Dylai cerddoriaeth y dreithgan gael ei dysgu allan yn *berffaith* cyn ceisio ei chanu ar eiriau. Wedi hyny dylai y geiriau gael eu cymeryd o linell i linell a'u *tate-io* fel cynllun, eu hadrodd fel cynllun, a'u canu ar y gerddoriaeth. Pan yn y gris hwn dylai y dysgybl ufuddhau yn berffaith i'r dull y mae y geiriau wedi eu marcio. Wedi hyny gall ddysgu marcio drosto ei hun. Bydd yn ddigon o dâl am y llafur presenol, iddo gael y mwynhad sydd wrth dreithganu yn rhwydd, a hefyd yn y cynydd eglur a gwerthfawr a wna mewn dirnadaeth mydryddol. Gall yr athraw guro amser mewn curiadau, neu, yn well fyth, ddefnyddio amser-fesurydd. Os bydd yn arfer ffon (*baton*), bydded iddo ei symud o'r chwith i'r dde, ac yn ol, ac felly bydd ganddo yr aceniad weithiau ar un tu, ac weithiau ar y tu arall.

**Ym. 153.** Dysger fel uchod fydrau Ym. 123. Sylwer ar engreifftiau o'r mesur tri-churiad yn y treithiad o flaen y diweddeb cyntaf yn yr adnod gyntaf; yn y treithiad o flaen y diweddeb olaf yn yr ail adnod; ac yn y treithiad o flaen y diweddeb cyntaf yn y drydedd adnod.

**Ym. 154.** Dysger fel uchod fydrau Ym. 124.

**Ym. 155.** Eto Ym. 125. Sylwer ar fesurau tri-churiad yn y treithiad o flaen y diweddeb cyntaf a'r olaf yn y drydedd adnod.

**Ym. 156.** Dysger fel uchod fydrau Ym. 126.

### Amser.

**Y Chwarter Curiad Distaw** a ddangosir fel y distawiadau ereill, trwy adael lle gwag yn mysg y curiad-raniadau. Gelwir ef yn *sa* ar ran acenadol, a *se* ar ran ddiacen o'r curiad. Dylid dysgu yr ymarferiadau mewn amser fel y cyfarwyddir ar tudal. 20.

**Ym. 157.**

| l :l .l | ,l .l,l :l .l ‖
TA-E TATE *sa*ffateffe TATE

CY. G.
| d :m .s | ,f .m,r :d .d ‖

CY. G.
| m :r .d | $,t_1$ .d,r :m .m ‖

CY. D.
| s :m .f | ,r .m,f :s .s ‖

CY. D.
| s :m .d | ,l :s,f :m .d ‖

**Ym. 158.**

| l,l . l,l :l .l | l,l .l, :l,l . l, ‖
taffateffe TATE taffate*se* taffate*se*

CY. F.
| d,r .m,f :s .s | s,f .m, :m,r .d, ‖

CY. F.
| m,r $.d,t_1$ :d .d | f,f .f, :m,m .m, ‖

CY. D.
| s,m .d,m :s .m | r,m .f, :m,f .s, ‖

CY. D.
| m,s .m,d :m .s | f,r $.t_1$, :s,m .d, ‖

*Cyf. Saf. (New.)*

**Trydeddau Curiad** a ddangosir gan wahannod yn cael ei droi ar y dde, fel hyn— : ‚ ‚ |. Enwer y drydedd gyntaf o'r curiad yn TA, yr ail drydedd TE, a'r drydedd drydedd yn TI, ac mae'r distawiadau a'r parhâdiadau yn cael eu henwi fel o'r blaen.

**Ym. 159.**

| l :l ‚l ‚l | l .,l :l . ‖
TA-E tateti TAeffe TA*SE*

CY. F.
| d :r ‚m ‚f | m .,s :s ‖

CY. F.
| m :f ‚m ‚r | m .,d :d ‖

CY. A.
| s :m ‚d ‚m | s .,d :d ‖

CY. A.
| m :d $‚l_1$ $‚t_1$ | d .,d :d ‖

**Ym. 160.**

| l .l :l .,l :l ‚l ‚l :l .l ‖
TATE TAeffe tateti TATE

CY. F.
| d .r :m .,f | m ‚r ‚d :r .d ‖

CY. F.
| m .r :d .,r | m ‚f ‚s :f .m ‖

CY. A.
| d $.s_1$ :m .,r | d $‚t_1$ ‚d :m .r ‖

CY. A.
| m .d :s .,l | s ‚f ‚m :r .d ‖

**Ym. 161.**

| l ‚l ‚l :l ‚– ‚l | l,l . l,l :l .l ‖
tateti ta-eti taffateffe TATE

CY. F.
| d ‚m ‚s :m ‚– ‚d | d ,r .m ,f :s .s ‖

CY. F.
| s ‚m ‚d :m ‚– ‚s | s ,f .m ,r :d .d ‖

CY. A.
| d $‚t_1$ ‚d :m ‚– ‚d | r ,d .r ,m :d $.s_1$ ‖

CY. A.
| m ‚f ‚m :r ‚– ‚m | s ,l .s ,f :m .d ‖

**Beth ydyw Curiad?**—Fe sylwir fod yr ymarferiadau yn y mesur chwe-churiad yn y gris hwn yn symud yn gyflymach nag Ym. 80, a bod yr amser yn fwy hawdd ei ddynodi trwy "guro ddwywaith i'r mesur," fel y dynodir tudal. 26, ac y gellid o ganlyniad ei ysgrifenu yn y mesur dau guriad. Gallesid ysgrifenu Ym. 175 fel hyn—

{ :,.,s | s :–,–,s | s :–,–,s | s,–,s :m',–,r' }

{ | d' :–,–, | l,–,t : d',–,l | s : d' }

Nid yw y dull presenol yn cael ei fabwysiadu ond er mwyn mwy o eglurder i'r llygad yn y rhaniadau ar amser. Dylid tate-io pob ton fo'n symud mor gyflym, fel "mesur dau-guriad yn llawn o drydeddau." Fe sylwir hefyd fod llawer o'r mydrau a roddir yn ein hymarferiadau ar amser, yn rhai y gallesid eu hysgrifenu allan yn fwy llawn, trwy wneyd un mesur yn ddau. Y mae tonau yn cael eu hysgrifenu yn wahanol yn yr ystyr hwn yn y nodiant cyffredin, yn gystal ag yn nodiant y Tonic Sol-ffa. Y mae hyd y nod Handel, mewn un copi o don, yn rhoi mewn dau fesur yr hyn mewn copi arall y mae yn ei roi mewn pedwar mesur. Yr egwyddor ag sydd yn ymddangos yn llywodraethu cyfansoddwyr ydyw hon. Po gyflymaf y byddont yn dewis i'r darn o gerddoriaeth symud, lleiaf oll o fesurau y maent yn ei ranu iddo. Gwyddant fod canu yn gyflym yn gwneyd yr aceniadau yn ysgafnach ac yn llai amlwg, a bod canu yn araf yn dwyn allan aceniadau, y rhai, fel arall, na fuasid prin yn eu canfod. Fel mai trwy ddygwyddiadau yr ydym yn sylwi ar ysgogiad amser mewn bywyd cyffredin, felly mewn cerddoriaeth, trwy aceniadau y gallwn fesur allan ein seiniau. Gellir gwahaniaethu aceniadau adran cerddorol fel rhai prif-raddol a rhai is-raddol. Dylid marcio yr aceniadau prif-raddol gan raniadau y mesur, a'r rhai is-raddol gan raniadau y curiad. Y mae, pa un ai prif ai is-raddol fyddo aceniad, yn dibynu ar y cyflymdra y mae darn cerddorol i gael ei ganu, ac y mae bob amser yn bwnc o farn. Yr ydym yn deffinio curiad fel un allan o'r prif aceniadau sydd yn dygwydd yn rheolaidd mewn ton, ond nid yw curiad bob amser yn undod hollol, anwadadwy, a digamgymeriad. Y mae yn "fesur o gyfrifiaeth." Mae y cyfansoddwr yn chwareu neu yn canu ei gerddoriaeth, a lle y mae efe yn cyfrif fod y prif aceniadau yn disgyn, mae yn ysgrifenu prif guriadau ei fesur, ac y mae'r aceniadau is-raddol yn syrthio i'w lleoedd y *tu fewn* i'r curiadau hyny. Ond os bydd yr aceniadau is-raddol yn lluosog ac yn dygwydd yn rheolaidd, y mae yn fynych yn well, er mwyn gallu darllen y gerddoriaeth yn dda, ei fod i'w golygu fel prif aceniadau. Yn anffodus nid oes dim sicrwydd yn y nodiant cyffredin pa nodyn (*crotchet*, *quaver*, neu *minim*,) y mae y cyfansoddwr yn ei fwriadu yn "guriad." Pe byddai ysgrifenwyr yn ei wneyd yn ddeddf fod y *crotchet*, er engraifft, bob amser i sefyll am yr hyn a olygant hwy *yn guriad* o'u cerddoriaeth, ni fyddai un anhawsder i'w deall; ond y mae hyd yn nod yr un cyfansoddwr yn dangos curiad ar wahanol amserau mewn gwahanol ffyrdd, fel y mae yr hwn sydd yn troi y darn i'r Tonic Sol-ffa yn gorfod *gwrando* ar y gerddoriaeth, *teimlo* yr aceniadau, ac ysgrifenu yn gyfatebol.

**Curo Amser.**—Hyd yma nid yw y dysgybl wedi cael caniatad i guro amser. Nid yw ond wedi dysgu *canu* mewn amser, oblegid nid oes un dyn a all yn dda ddysgu dau beth ar unwaith; ac o ganlyniad y mae y rhai sydd yn ceisio gwneyd hyny i'w cael yn barhaus yn curo i'w canu yn lle canu i guriad annibynol a rheolaidd. Y mae rhai, er hyny, ag y mae ysgogiad rheolaidd y llaw neu y troed yn dod yn beth greddfol iddynt. Mae'r curiad yn myned yn mlaen heb eisieu meddwl na sylw, fel ysgogiad y pendyl. Y cyfryw rai, a'r cyfryw rai yn unig, a allant ddefnyddio *curo* mewn amser fel prawf o *ganu* mewn amser. Hyd yma yr athraw sydd wedi bod yn safon amser i'w ddysgyblion. Y mae, trwy wyliadwriaeth, trwy feirniadaeth, a phenderfyniad, wedi rhoi o'u mewn ei deimlad ei hun o amser. Y mae yn ceisio yr holl amser i wneyd i synwyr *clyw* ei ddysgybl deimlo amser; ond pan fyddai hwnw yn pallu, yr oedd ganddo ei guro (sef cyfleu amser trwy synwyr arall, sef y golwg) i gywiro y llall. Os ydyw yn awr yn dymuno rhoddi iddynt faen-brawf o'u heiddo eu hunain, gall wneyd fel y canlyn: Y mae yr athraw yn dyweyd, "Sylwch ar fy nghuro i, a gwnewch fel myfi." Y mae yn curo y mesur pedwar curiad yn ol M. 60. Mae'r dysgyblion yn ei efelychu. Dylid gwneyd hyn ag un llaw, yn ddistaw, yn benaf gydag ysgogiad y garddwrn (y fawd bob amser i fyny), a chydag ychydig iawn o ysgogiad y fraich. Dylai y bys basio yn gyflym a phenderfynol o un pwynt o'r curo i'r nesaf, a dylid ei ddal yn gadarn wrth bob pwynt mor hir ag y mae y "curiad" yn aros. Pan y mae hyr yn cael

ei wneyd yn iawn, fe ddywed yr athraw, "Yn awr, chwi gewch chwi guro un mesur, a minau y nesaf, ac felly yn mlaen." Ar ol myned trwy yr ymarferiad lled anhawdd hwn, y mae un mwy anhawdd yn cael ei gynyg. Bydded i bob dysgybl guro un mesur yn ei dro, a phawb yn cymeryd gofal nad oes dim arosiad nac amrywiad yn nghyflymdra yr ysgogiad. Ymarferiad mwy anhawdd eto—ond tra defnyddiol i sefydlu y teimlad o amser yn y glust a'r meddwl—fydd i'r dysgyblion a'r athraw guro amser gyda'u gilydd am ychydig o fesurau, ac yna ar amnaid penodol i roi y llaw i lawr, ac aros am un, dau, tri, neu ychwaneg o fesurau (fel y byddo'r athraw wedi penderfynu yn mlaen llaw) *a dechreu curo drachefn yr un foment.* Yn yr ymarferiad hwn chwi ganfyddwch yn fuan mor gyflym y mae amser yn myned gyda'r rhai o dymher fywiog, ac mor araf gyda'r trymaidd, ac mor anhawdd ydyw i neb gael syniad cywir am amser. Eir trwy yr un gyfres o ymarferiadau yn y mesur tri-churiad. Gellir dwyn amser-fesurydd i mewn fel prawf o gywirdeb yr amser, yn lle barn yr athraw. Y mae llawer ffordd o guro amser. Yr ydym ni yn cynghori y drefn ganlynol fel yr un fwyaf priodol ac eglur ganfyddadwy. Cyfeiriad yr ysgogiad sydd o'r pen teneuaf i'r pen tewaf o bob llinell. Y mae pen tew bob un yn dangos "pwynt gorphwysiad" pob curiad.

MESUR DAU-GURIAD. MESUR TRI-CHURIAD. MESUR PEDWAR-CURIAD. MESUR CHWE-CHURIAD.




NODIAD.—Y mae yn well curo ail guriad y mesur tri-churiad tua'r dde nag (fel y mae rhai yn gwneyd) tua'r aswy, oblegid y mae felly yn cyfateb i guriad cymhedrol y "mesur pedwar-curiad," ac y mae ail guriad y mesur tri-churiad *yn debyg* i guriad cymhedrol. Y mae yn cael ei edrych arno yn gyffredin (yn fydryddol a chynghaneddol) fel parhad o'r curiad *cyntaf*. Y mae rhesymau cyffelyb yn dangos y priodoldeb o'r curo a gynghorir ar y mesur chwe-churiad, ond pan y mae y mesur hwn yn symud yn gyflym *iawn* y mae yn cael ei guro fel y mesur dau guriad, gan guro ar bob curiad acen-iadol.

**M. 60.**—Dylai ymdrechion i gofio y cyflymdra hwn, a chan gyflymed arall, M. 120, a thua *haner* can gyflymed arall, M. 92, a rhwng hyny a 60 *ddau* gyflymder, M. 80 a M. 72, a rhwng hyny a 120 *un* cyflymder, M. 106, gael ei wneyd yn fynych, fel y cynghorir ar tudal. 36. Trwy hunan-ddysgyblaeth gellir gwneyd hyn.

(*Cyf. Saf. New.*)

**Y Rhestrau.**—Yr ydys wedi dangos fod y lleisiau dynol gyda'u gilydd yn gwneyd un organ fawr—yn rhedeg trwy ei gwahanol restrau, o'r bass isaf i'r soprano uchaf—ac felly y gallai lleisiau dosbarth, yn gynwysedig o feibion a merched, redeg i fyny un raddfa gydrywiol o dri neu bedwar wythawd. Gwel tudal. 31 a 34. Nid ydyw cwmpas pob llais neillduol ond darn wedi ei dori allan o'r raddfa fawr hon, ac yn cymeryd y rhestrau fel y deuant. Dylid sylwi yn fanwl nad ydyw y gwahaniaeth rhwng lleisiau meibion a merched, megys soprano, contralto, tenor, bass, o angenrheidrwydd yn gwneyd gwahaniaeth yn yr ansawdd ar yr un seiniau. Fel hyn nid yw contralto, tenor, a bass, pan wedi eu hamaethu yn naturiol, yn gyffredin yn amrywio mewn ansawdd ar G, A, a B, ac nis gellid gwahaniaethu soprano, contralto, a tenor, yn canu yn yr un seiniau, C, D, E, oddiwrth eu gilydd, oddigerth trwy yr eiliw o wahaniaeth sydd yn naturiol yn hynodi lleisiau personau gwahanol, neu

y gwahaniaethau mwy amlwg a wneir gan gamamaethiad. Y mae ar ganwyf gwrywaidd diamaethedig yn gyffredin gywilydd o'u rhestr deneu gwan hyd nes y byddont wedi ei wneyd yn gref trwy ymarferiad. Y mae eisoes ryw gynydd wedi ei wneyd yn ei chryfhâd trwy foddion Ym. 104, tudal. 35. Ni ddylid esgeuluso y canu *cw stacato*; ond gellir yn awr ei amrywio yn ol cynllun y ddau ymarferiad sydd yn canlyn.

Ym. 162. CY. **F, G, F♯, G♯.**

| m'.d' :r'.t | d'.l :t.s | l :t | d' :— ||
cw, &c.

Ym. 163. CY. **A, B, A♯, C.**

:d' | t .,t :l .,l | s .,s :f .,f | s :s | d' ||
cw, &c.

**Adnabod y Rhestr Gyntaf neu Dew.**—Fel y cafwyd fod y rhestr deneu yn cael ei hesgeuluso gan feibion, ac yn cael ei harfer yn gyffredin gan ferched, felly y mae y rhestr dew yn cael ei hesgeuluso gan ferched, ac yn cael ei harfer yn gyffredin gan feibion. Ni wyr llawer o ganwyr soprano pa beth ydyw, ac y mae hyd yn nod canwyr contralto yn ofni arfer yr hyn y maent yn ei dybied ydyw llais mab. Dywed Mdme. Seiler mai peth cyffredin iawn ydyw i lais-amaethwyr gefnogi merched i lwyr esgeuluso y rhestr dew uchaf, a defnyddio yr un deneu yn ei lle; ac felly, pan y maent o'r diwedd yn myned i'r rhestr dew, pan ar A, y maent yn gwneyd hyny ar ei seiniau llawn ddirgrynol, ac y mae y cyfnewidiad yn ansawdd y llais i'w ganfod yn bur anhyfryd. Er galluogi dysgyblion benywaidd i *adnabod* y rhestr dew, gosoder y raddfa (tudal. 31) neu modulator y raddfa (yn y 5ed gris) o'u blaen, ac yna, gan ddechreu gyda sain (B, A, neu G,) fyddo yn ddios o fewn y rhestr deneu (un hawdd iddynt), bydded iddynt ganu *tuag i lawr* (yn cael eu harwain gan y llaw-arwyddion) **d' s m d**, a *chyda grym cynyddol* ar y sain isaf. Bydd y sain isaf yn sicr o fod yn y rhestr dew. Ar ol cael y cyfryw ansawdd llais bydded iddynt redeg i fynu, *gan gadw yr un ansawdd*, i F. Mae y dull hwn o weithredu yn un cyferbyniol i'r dull trwy ba un y mae y tenorwyr a'r basswyr wedi dysgu adnabod y rhestr deneu, tudal. 35.

*Cyf. Saf.* (*New.*)

**Cryfhau y Rhestr Dew.**—Bydd y lleisiau contralto a soprano yn gofyn yr un ymarferiad o ganu *cw stacato* i gryfhau rhanau isaf eu lleisiau ag yr oedd y lleisieu tenor a bass yn ei ofyn (tudal. 35,) i ran *uchaf* eu lleisiau *hwy*. Rhaid i'r gorchwyl o gryfhau fod i fyny oddiwrth diriogaeth ddiamheuol y rhestr dew tua'r tir ar gyffiniau y rhestrau tew a theneu. Gofaler peidio treisio y rhestr yma yn ormodol, oblegid nis gellir peri i'r rhestrau blygu dros eu gilydd *tuag i fynu* heb niwed. Gall y lleisiau gwrywaidd ymuno gyda'r rhai benywaidd yn yr ymarferiad hwn, oblegid y mae yn hawdd iddynt, a gallant gefnogi y lleisiau soprano a contralto, ond rhaid iddynt ganu yn dyner, rhag i'r lleisiau sydd yn gofyn yr ymarferiad gael eu boddi. Eler dros yr ymarferiadau canlynol yn ol y dull a ddesgrifir ar tudal. 35. Rhaid i'r meibion dybied y nodau wythawd yn uwch nag y maent wedi eu hysgrifenu.

Ym. 164. CY. **A, B, A♯.**

:d, | m, :r, | f, :m, | s, :s, | d, ||
cw, &c.

Ym. 165. CY. **G, A, G♯, A♯.**

| d,.m, :r,.f, | m,.s, :f,.l, | s, :s, | d, :— ||
cw, &c.

Ym. 166. CY. **G, A, G♯, A♯.**

:d, | r,.,r, :m,.,m | f,.,f :s,.,s, | l, :s, | d, ||
cw, &c.

**Cymhlethiad y Rhestrau.**—Dylai canwr da fod yn alluog i basio o un restr i un arall heb adael i'r gwahaniaeth fod yn ganfyddadwy. I'r amcan hwn y mae y llais-amaethwr yn cryfhau, ar y "seiniau dewisiadol," (tudal. 34,) y wanaf o'r ddwy restr (y deneu yn y meibion a'r dew yn y merched), nes y mae yn gyfartal mewn swm, ansawdd, a hawsder i'w gynyrchu, i'r un gref. Yna y mae yn profi gallu y canwr i gynyrchu y naill neu y llall o'r rhestrau yn ol ei ewyllys, fel yn yr ymarferiadau canlynol, y rhai sydd yn ddynwaredol o Garcia. Mae y nodau mewn llythyrenau cyffredin i gael eu canu yn y rhestr dew, a'r rhai mewn llythyrenau Italaidd yn y rhestr deneu. Yr egni

fydd gwneyd y ddwy sain mor debyg i'w gilydd ag y bydd yn bosibl. Na fydded i'r dysgybl gymeryd anadl wrth basio o un restr i'r llall, a bydded iddo ganu pob ymarferiad yn gyflymach gyflymach. Caned y lleisiau gwrywaidd yr ymarferiadau hyn yn y rhan uchaf o'u cylch, a'r lleisiau benywaidd yn y rhan isaf o'u cylch. Caned y meibion a'r merched yr unrhyw seiniau. Ni ddylid gadael dim un o'r cyweirnodau allan, oblegid yr ydym i roi ymarferiad i holl gyhyrau y *larynx* trwy holl gylch y seiniau dewisiadol. Y mae hwn yn amgylchiad pryd y mae yr addysg yn y dosbarth yn annigonol. Nis gall ond gosod y dysgybl ar yr iawn lwybr. Rhaid iddo farnu drosto ei hun am ei gynydd. Bydd yr ymgais i hyny yn ei wneyd yn awyddus i fwynhau mantais addysgiant personol.

Ym. 167. CY. C, D, C♯, D♯, D, E, D♯, F, E, F♯.

| d' :d' | d' :d' | d' :d' | d' : — ||
cw, &c.

Ym. 168. CY. C, D, C♯, D♯, D, E.

| d' :r' | d' :r' | d' :r' | d' : — ||
cw, &c.

Ym. 169. CY. C, D, C♯, D♯.

| d' :m' | d' :m' | d' :m' | d' : — ||
cw, &c.

**Medru Adnabod a Thrin y Seiniau Dewisiadol.**—Dylai canwyr y tenor yn awr efrydu, gyda threfn, ddefnyddiad goreu eu seiniau dewisiadol. Yn gyntaf, cyn dechreu unrhyw don, dylent sylwi ar y cyweirnod, ac oddiwrth hwnw gael allan ar ba nodau yn y Sol-ffa y disgyn eu seiniau dewisiadol. Bydd modulator y llais (5ed gris) ar y cyntaf yn eu cynorthwyo yn hyn. Yn ail, dylent astudio brawddegiad pob adran yn yr hon y mae seiniau dewisiadol yn cael eu defnyddio. Yn drydydd, mewn amgylchiadau sydd yn gofyn *piano* neu *forte*, hwy gofiant y cânt sain gryfach gyda'r rhestr dew na'r un deneu. Y mae rhai personau yn newid y rhestr mewn rhyw uchder neillduol, pa beth bynag fydd yr adran a genir. Y mae ereill yn ceisio peidio newid y rhestr y tu fewn i ryw frawddeg gerddorol gymaint ag a ellir. Wrth ddisgyn o'r rhestr deneu y maent yn ceisio ei gadw mor hir ag y gallant. Wrth esgyn i'r rhestr deneu y maent yn dechreu y frawddeg yn y rhestr hono. Yn Ym. 170 i 173, y mae marc gwastad tenen yn cael ei osod uwchben y sain, ar yr hon, o herwydd amryw resymau, y bernir yn oreu i lais tenor newid i'r rhestr deneu, a marc gwastad dwbl lle y tybir yn well i newid i'r rhestr dew. Bydded yn ofynol i'r dysgybl gael allan y rhesymau dros bob un o'r cyfnewidiadau hyn, a chael ei gefnogi i awgrymu cyfnewidiadau ereill a gwell.



Y mae **Gwybodaeth o Anghydseiniaid** yn angenrheidiol i wneyd y canwr yn ddiofn. Os nad yw yn adnabod y ffaith ei fod yn taro anghydsain, y mae yn teimlo fel pe byddai rhywbeth o'i le, a themtir ef i gamganu. Ond os gwyr beth y mae yn ei wneyd, y mae yn taro ei sain yn wrol, yn edrych allan am yr adferiad, ac yn ei wneyd yn rhagorol. Sylwer ar y darnodiad o anghydsain, tudal. 23.

**Anghydseiniaid ar Ran o Guriad.**—Ar tudal. 23 y mae eglurhad ar y math mwyaf cyffredin o anghydsain yr hwn sydd yn ymddangos ar ran wan o guriad—y *pasdon ar ran o guriad.* Y mae pedwar esgusawd arall yn cael eu derbyn gan y glust dros anghydseiniaid ar ran wan o guriad. Pan y maent fel **s** yn yr un a ganlyn— | r.,s : s || y maent yn *rhagdaro* y sain sydd yn eu dilyn,—pan fel l neu t yn a ganlyn | d'.t : d' | s .l : s || y maent yn *ymdoni* i fyny neu i lawr,—neu pan fel **f** a **m** yn a ganlyn— | s .f : r .m | d || y maent yn ymlynu neu yn *ymhongian* i fyny neu i lawr wrth sain briodol y cord,—neu fel **t** a **l** yn a ganlyn— | m .t, : d .l, | t, || y maent yn *cyfeirio* neu yn arwain, yn gyffredin trwy gam esgynol, at y sain sydd yn canlyn. Y mae yr holl berthynasau melodaidd hyn yn cael eu derbyn fel esgusawd achlysurol dros anghydseiniaid. Yn ychwanegol at yr anghydseiniaid hyn ar ran wan o guriad, caniateir anghydseiniaid hefyd, er yn llai mynych, ar ran gyntaf neu *gref* curiad. Yr enw a roddir ar y rhai hyn ydyw *cyn-darawiadau* neu flaen-ergydion. Y maent i gyd ymron yn cael eu "hadferu" (gwel tudal. 23,) trwy fyned un cam i lawr. Y paratöad esmwythaf i'r anghydseiniaid hyn ydyw pan, fel **r** yn a ganlyn— : r | r .d ||, yr ydys newydd glywed yr anghydsain fel cydsain yn y cord blaenorol. Gelwir hwn yn gyn-darawiad *gwastad* neu wastad-gyfeiriol. Y paratöad sydd yn sefyll yn nesaf o ran cymeradwyaeth gyda'r glust ydyw pan fel **s** yn a ganlyn— : l | s .f ||, y mae yr anghydsain yn dod i lawr oddiwrth y sain y tu uchaf iddi—fel pasdon, ond ar y rhan gref o guriad. Gelwir

hwn yn gyndarawiad gwyrog neu wyr-gyfeiriol. Esgusawd llai cyffredin ydyw pan, fel f yn a ganlyn— | .m : f .m ‖, y mae genym gyndarawiad ymdonog. Yn llai mynych fyth gallwn gael, fel m yn a ganlyn— | d .r : m .f | s ‖, gyndarawiad gwyrog. Ond pan y mae y cyfansoddwr yn dewis peidio gwneyd esgus dros gyndarawiad, ond ei *honi* er mwyn rhyw effaith lem, y mae yn ei adael *heb ei barotoi*, fel l yn a ganlyn— : m | l . s : f ‖. Dysgyblion wedi myned yn o bell yn mlaen yn unig fydd yn meddu amser i efrydu y pynciau hyn. Gallant wneyd hyny ar eu penau eu hunain, trwy farcio yn mlaen llaw, yn yr ymarferiadau, yr engreifftiau y maent yn dewis eu nodi, a phan y daw yr amser i ganu, *wrando* am yr effeithiau. Neu, os bydd yr holl ddosbarth yr un mor fedrus a sylwgar, gall yr athraw arwain yr holl ddosbarth i chwilio pob un o'r engreifftiau canlynol, ac yna i ganu y frawddeg yn dyner ar *la* ddwywaith neu dair. Gweler engreifftiau o *Basdonau* ar ran o guriad yn Ym. 133, *ll* 1, *m* 4, *c* 2, a *m* 7, *c* 1; a *ll* 2, *m* 4, *c* 1; ac Ym. 172, *ll* 3, *m* 3, *c* 2, engraifft arbenig. Gweler seiniau rhag-darawol Ym. 174, *ll* 2, *m* 2, *c* 2. Gweler seiniau ymdonol Ym. 124, *m* 5, *c* 2; Ym. 171, *ll* 2, *m* 3, *c* 3; Ym. 174, *ll* 3, *m* 3, *c* 1, 2, 3; a *ll* 4, *m* 1, *c* 1, 2, 3. Gweler cyn-darawiadau gwastad yn Ym. 172, *ll* 2, *m* 1, *c* 2 a 3; a *ll* 2, *m* 3, *c* 3; a *m* 4, *c* 1 a 2; Ym. 174, *ll* 5, *m* 1, *c* 3. Gweler cyndarawiadau gwyrog Ym. 170, *ll* 1, *m* 1, *c* 4; a *m* 3, *c* 4; a *m* 5, *c* 4; a *m* 6, *c* 4.

**Anghydseiniaid ar Guriad Llawn.**—Derbynir gan y glust yr holl esgusion a nodir uchod dros anghydseiniaid ar guriadau llawn hefyd. Os bydd y gerddoriaeth yn symud yn bur gyflym, y mae pasdonau ac anghydseiniaid ereill, y rhai sydd mor gyffredin ar *ran* wan o guriad, yn cael eu defnyddio yn rhydd ar y *curiad* gwan, gan fod y curiad cryf a gwan yn cael eu trin yn gynghaneddol fel pe byddent yn un curiad. Ond pan y mae y gerddoriaeth yn symud yn araf, nid yw y glust mor foddlawn ar yr esgusion ysgeifn hyn, ac nid oes ond y "pasdon" yn cael ei ddefnyddio yn fynych. Ond ar y curiad cryf, pa fodd bynag, ac ar *ran* gref o guriad, defnyddir y gwahanol gyndarawiadau yn fynych. Pan yn cael eu paratoi defnyddir hwynt er mwyn ystwythder y felodedd, a phan heb eu paratoi, er mwyn effaith.

Gweler engreifftiau o anghydseiniaid yn symud yn gyflym yn Ym. 141, *ll* 1, *m* 3, *c* 2; a *ll* 2, *m* 1, *c* 2; Ym. 192, *ll* 1, *m* 3, *c* 2 a 6; *ll* 6, *m* 4, *c* 2 a 6; *ll* 10, *m* 2, *c* 5; Ym. 174, *ll* 7, *m* 3, *c* 2. Gweler yr anghydsain ranol (a eglurir tudal. 38). Ym. 140, *ll* 2, *m* 1, *c* 2; a *ll* 3, *m* 3, *c* 2; ac Ym. 143, *ll* 3, *m* 2, *c* 2; ac yn "guddiedig" (d am f a fe am t) Ym 174, *ll* 7, *m* 3, *c* 4; a hefyd Ym. 144, *ll* 1, *m* 2, *c* 1, yn yr hwn amgylchiad, gan nad yw y t wedi ei hadferu ar d, y mae yn swnio yn fwy tebyg i gyndarawiad. Gweler cyndarawiadau gwastad yn Ym. 170, *ll* 1, *m* 4, *c* 4, pryd y mae f, ar ol ei pharatoi yn wastad, yn parhau am ddau guriad, ac yna yn cael ei hadferu ar m. Y mae yr un fath gyda m yn y mesur nesaf, a chyda r yn y mesur canlynol. Mae'r fe ymdonol yn *ll* 1, *m* 4, *c* 4, yn ymdoni yn erbyn anghydsain yn hynod a chras. Hefyd yn Ym. 174, *ll* 7, *m* 1, *c* 1; ac Ym. 142, *ll* 1, *m* 4, *c* 1. Gweler engraifft o "adferiad yn cael ei oedi" yn Ym. 137, *ll* 1, *m* 3, lle y mae f yn pasio trwy gydsain ac anghydsain ranol i'w hadferiad. Gweler anghydsain *heb* ei pharatoi, "l yn erbyn t," yn cael ei dwyn i mewn er mwyn ei heffaith darawiadol yn Ym. 174, *ll* 7, *m* 1, *c* 3. Gweler d a s (Tonydd a Llywydd,) yn arfer yr hawl o ddal y seiniau yn hir (pedawl neu droediawl fel y gelwir hwynt,) er gwaethaf anghydseiniaid, o herwydd eu perthynas â'r cyweirnod, yn Ym. 138, *ll* 1, *m* 2, *c* 2; a *ll* 2, *m* 2, *c* 2; a *m* 3, *c* 3.

**Diweddebau Newyddion.**—Nis gellir rhoi y cord yn llawn mewn cerddoriaeth o ddwy ran. Ond, o herwydd rhesymau a roddir yn y "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth," y mae cydseiniaid dwy ran yn *awgrymu* cordiau o ba rai y maent yn ffurfio rhan. Fel hyn y mae $s_1$ gyda d uwch ei phen yn awgrymu y cord D*c*; m gyda s uwch ei phen yn awgrymu, nid y cord "diystyr" ac anfynych M*a*, ond D*b*; $t_1$ gyda r uwch ei phen, nid y cord gwan T, ond S*b*; l gyda f tu uchaf iddi yn awgrymu F*b*, ac yn y blaen. A'u hesbonio fel hyn, y mae yr ymarferiadau yn y gris hwn yn dwyn i'n sylw ddau ddiweddeb newydd, yn ychwanegol at y rhai hyny (diweddebau y D, y S, y F D, a'r L) a enwir ar tudal. 51. Gweler y diweddebau anghyffredin ar F a R yn Ym. 137. Gweler beth a alwn ni yn ddiweddebau $^{S}$D yn Ym. 142, a diweddeb $^{F}$D yn Ym. 142. Gweler yr hyn a alwn ni yn ddiweddeb gwan-guriadol yn Ym. 142, *ll* 2, *m* 2, *c* 2, a diweddeb $^{F}$D gwan-guriadol yn *ll* 1, *m* 4, c 2.

**Adranau, Dosranau, a Diweddranau.**—Y mae natur diweddeb wedi ei esbonio ar tudal. 51. Yno y mae wedi ei ddangos fod y diweddeb yn naturiol yn *tori* y felodedd i ranau, a bod y rhanau hyn yn cael eu galw yn "Adranau." "Dosranau" ydynt ran-

iadau y *tu fewn* i Ddosran. "Diweddranau" ydynt raniadau o felodedd yn cynwys dwy neu ychwaneg o Ddosranau. Mewn darnau maith o gerddoriaeth yr ydym yn arfer y gair Caingc i ddynodi lluaws o ddiweddranau wedi eu huno yn un cyfanwaith melodaidd. Y mae Dosran sydd yn ddau fesur o hyd yn cael ei alw genym yn Ddwy-ain, un o dri yn Deir-ain, ac un o bedwar mesur yn Bedair-ain (neu *Bedr-ain*).

**Ffurf Gerddorol.**—Rhaid i ffurf dda ar dŷ, neu addurn, neu anifail, fod yn gymesurol ac amrywiol, a chyfaddas yn ei holl ranau i'w brif bwrpas. Felly mewn cerddoriaeth, y mae i don, wedi ei ffurfio yn dda, gymesuredd a chyfartaledd yn hyd ei phrif ranau neu linellau; y mae yn meddu ar gymesuredd, amrywiaeth yn y mydrau, a chyfatebion melodaidd yn ei hadranau cerddorol; ac y mae ei chynghanedd, yn gystal ag arddull ei melodedd, yn cyduno i ddatgan y teimlad cyffredinol a ddymunir. Byddai ton ddigymal, anffurfiol, fel darlun yn yr hwn y byddai nifer o feibion a merched prydferth a gwrthun wedi cael eu taflu i mewn "rywsut." Y mae ton wedi ei ffurfio yn dda fel y meibion a'r merched hyny wedi eu gosod yn drefnus mewn un darlun—lle y mae y prydferth wedi ei osod yn y blaen, a'r gwrthun wedi ei osod yn y cysgod, a'r lliwiau a'r ystumiau wedi eu trefnu er mwyn cynyrchu unffurfiaeth amcan. Y mae yn beth hyfryd gweled tŷ, neu addurn, neu anifail, a gwybod y pethau neillduol hyny yn y rhai y maent yn rhagori; ond gallwn dderbyn llawer o bleser oddiwrthynt heb y fath welediad deallgar. Y mae yr un fath wrth *wrando* ar gerddoriaeth, ond y mae yn wahanol wrth *ganu* cerddoriaeth, oblegid y mae y canwr yn gelfyddydwr. Gall y cerfluniwr neu yr arluniwr gyflwyno eu gwaith eu hunain i olwg y lluaws; ond y mae y cyfansoddwr cerddorol yn dybynu ar gelfyddydwr arall—y canwr neu y chwareuwr—i gyflwyno ei waith. Trwy ganu yn wan neu yn gryf, yn gyflym neu yn araf, mewn amrywiol fanau, ac amrywiol raddau, gall y canwr ddwyn allan neu ddinystrio gwaith celfydd y cyfansoddwr druan. Bydd pob canwr deallus, gan hyny, yn ei deimlo yn ddyledswydd arno i efrydu ei gerddoriaeth yn mlaen llaw, a sefydlu yn ei feddwl pa fodd, trwy y gelfyddyd o Fynegiant, (tudal. 32,) y mae ei gwahanol raniadau mydryddol a delweddau melodaidd i gael eu gwahaniaethu, a'u "dangos allan" y naill oddiwrth y llall; pa fodd y gall efe newid amlinelliad noeth i fod yn ddarlun byw. Mae prif egwyddorion Perthynas Melodaidd wedi eu hawgrymu eisoes o dan y penau "Symudiad Perthynasol Rhanau," ac "Efelychiad," tudal. 38. Y mae rhyw syniad am "Adraniadau" neu farcio allan raniadau melodaidd, yn cael ei awgrymu o dan y pen "Anadl-fanau," tudal. 9, 32. Hawdd deall egwyddorion ereill Cymesuredd Mydryddol, ac yna bydd ymchwiliad i ychydig o engreifftiau yn dangos i'r dysgybl pa fodd i *ddechreu* yr efrydiaeth bleserus hon. Ceir dadblygiad helaethach o honi yn y "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth" o'm heiddo.

**Dadansoddi Ffurf Gerddorol.**—Y mae yr arferiad o beri i'r dysgybl wneyd dadansoddiad, ysgrifenedig neu eiriol, o'r don yr ydys am ei chanu yn dra defnyddiol. Dylai hyd y nod dysgyblion yn yr elfenau ateb y cwestiynau hyn:—

1af. Beth ydyw cywair y don hon, ac i ba gyweirnodau ereill y mae yn pasio (os ydyw hefyd)?

2il. Beth ydyw y mesur?

3ydd. Beth ydyw cyflymdra ac arddull yr ysgogiad?

A dylai dysgyblion mwy pell yn mlaen ateb y rhai canlynol:—

4ydd. Beth ydyw diweddranau y don hon, a diweddebau pob un?

5ed. Beth ydyw perthynasau melodaidd y diweddranau â'u gilydd, a pha le y gorwedd prif *bwynt* y don.

6ed. Beth ydynt ddosranau y ddiweddran gyntaf, gyda'u diweddebau a'u perthynasau melodaidd?

7ed. Beth yr ail ddiweddran?

8ed. Beth y drydedd (os yr un)?

9ed. Beth y bedwaredd (os yr un)?

**Engreifftiau o Ddadelfeniad.**—Dylai yr engreifftiau hyn gael eu profi trwy ganu drachefn a thrachefn, a chymharu y naill gyda'r llall wahanol ddosranau a diweddebau y don:—

*Ymarferiad* 133 sydd—1. Yn nghyweirnod A, gyda thrawsgyweiriad diweddebol i gyweirnod cyntaf llon E. 2. Y mae yn y mesur dau-guriad. 3. Yn lled araf a chadarn. 4. Y mae yn meddu (I.) diweddran gyda diweddeb ⁸D, neu ddiweddran ⁸D, yn cynwys dwy ddosran, yn cael eu canlyn

gan (II.) ddiweddran D o ddwy ddosran. 5. Y mae diweddran II. yn gwrthateb I. ar ei hail guriad, gan osod allan f yn erbyn m; y mae yn meddu ar symudiad cyffelyb ar y trydydd mesur, symudiad gwrthgyfatebol ar y chwechfed mesur, a diweddeb terfynol gwrthgyfatebol. 6. Y mae diweddran I. yn meddu ar bedr-ain D*b*, a their-ain ⁸D. [Gellir sylwi, wrth basio, fod wrth ganu duedd naturiol a phriodol i estyn allan sain olaf yr ail ddosran, fel ag i wneyd i'r ddwy ddosran *gydbwyso* mewn cyfartaledd mydryddol. Byddai i'r un duedd ar ran y glust hwyhau y seiniau uwchben y geiriau "awr" a "wawr" yn Ym. 139, a'r rhai uwchben "yw" a "byw" yn Ym. 143. Ni ddylid anghefnogi y duedd yma]. Yr ail ddosran yw y fwyaf cyffrous o'r ddwy, ac y mae yn dwyn y gerddoriaeth i bwynt. [Fe ddylid, wrth gwrs, o herwydd hyny, ei chanu gyda bywiogrwydd]. 7. Y mae diweddran II. yn meddu pedr-ain S*b*, a theirain D, yr hon sydd yn agored i gael ei gwneyd yn bedr-ain gan y canwr. Mae yr ail ddosran yn ateb y diweddeb petrusol f m r, trwy'r diweddiad terfynol f r d.

*Ymarferiad* 135. 1. Yn nghyweirnod E, gyda thrawsgyweiriad "estynedig," i'r cywair llon cyntaf B. 2. Mesur pedwar-curiad. 3. Araf a thyner. 4. Dwy ddiweddran o ddwy ddosran bob un. 5. Y perthynasau yn benaf, yn rhai o wrthatebiad. Y ddiweddran gyntaf yn dawel a'i holl aceniadau ar m neu s, a'r l uchel ddiacen yn rhoddi gwres teimladol iddi. Mae yr ail ddiweddran yn agor gyda symudiad tuag i fynu yn cyferbynu gyda symudiad mwyaf arbenig y gyntaf. Y mae ei holl aceniadau ymron ar y seiniau teimladol r a f, gan wrthgyferbynu eto. Nid yn niwedd y ddiweddran gyntaf, fel yn Ym. 133, y mae bywyd a phwynt y don, ond yn nechreu yr ail. 6. Dwy ddwy-ain D. Mae yr ail ddwy-ain yn agor gydag ail-adroddiad (megys er mwyn pwyslais,) o *ddiwedd* y gyntaf, ac y mae yn terfynu gydag *agoriad* distaw y gyntaf. 7. Dwy-ain ⁸D*b* yn cael ei chanlyn gan ddwy-ain D, yr ail yn adlais y gyntaf yn y cyweirnod gwreiddiol ac îs. [Ar ol i'r holl bethau hyn gael eu gwybod, gellir eu "dangos allan" gan y gwahanol fathau o ganu].

*Ymarferiad* 137. 1. Yn nghyweirnod B♭, gyda thrawsgyweiriad "estynedig" i'r cywair llon cyntaf F. 2. Mesur pedwar curiad. 3. Yn gyflym a hyf. 4. Diweddran ⁸D o bedair dosran yn cael eu canlyn gan ddiweddran D o bedair dosran. [Gan fod y gerddoriaeth yn symud yn gyflym, a bod y diweddeb uchel ⁸D yn gwneyd rhaniad amlwg ar y don i ddwy ran, mae y rhaniad hwn yn well nag i *bedair* diweddran o *ddwy* ddosran bob un.] 5. Perthynas o debygolrwydd, y ddwy ddiweddran yn agor ac yn cau eu holl ddosranau gyda'r un mydr. Y mae esgyneb *(climax)* gyffrous y ddiweddran gyntaf yn y diwedd, yn y darn esgynol o'i thrydedd a'i phedwaredd dosran; ac eiddo yr ail ddiweddran yn natganiad cyffrous yr ail ddosran ond un, gan adael dosran derfynol i wneyd diweddeb hyf. 6. Y mae diweddran I. yn meddu pedair dwy-ain, y diweddebau yn sefyll fel hyn: S, S*b*, R, ⁸D. Mae'r ddwy gyntaf yr un fath, oddigerth fod yr ail yn cymeryd ei diweddeb drydydd yn uwch na'r gyntaf. Mae y ddwy olaf yn ffurfio darn esgynol. [Dylid dechreu y cyfryw ddarn yn araf, a chynyddu yn raddol mewn nerth.] 7. Y mae gan ddiweddeb II. hefyd bedair dwy-ain, gyda diweddebau F, D*b*, F, D*b*. Yn y ddwy gyntaf y mae efelychiad melodaidd manwl, gyda chyfrwng o drydydd rhyngddynt. Mae y ddwy ereill yn agor gyda symudiad gwrthatebol i agoriad y cyntaf. [Y mae llawer ffordd y gellir "dangos allan" y pethau hyn gan y canwr.]

*Ymarferiad* 145. 4. Y mae yn meddu dwy ddiweddran, y gyntaf yn cynwys dwy bedr-ain, a'r ail (trwy ddiweddeb petrusol, ac felly ail-adroddiad o'r gaingc olaf,) dair pedr-ain.

*Ymarferiad* 113. 4. Yn meddu diweddran I., pedair dwy-ain, II., dwy ddwy-ain, III., pedair dwy-ain.

*Ymarferiad* 119. 4. Yn meddu diweddran I., dwy ddwy-ain, II., dwy ddwy-ain, III, tair dwyain.

*Ymarferiad* 129. 4. Yn meddu diweddran I., tair pedr-ain, II., dwy-ain estynedig, a dwy bedr-ain.

*Ymarferiadau mewn Dadansoddi.*—Ar ol i ymarferiad gael ei ganu yn y dosbarth, a'i gymesuriadau amrywiol a'i berthynasau melodaidd gael eu chwilio yn briodol, dylid gofyn i'r dysgyblion ddwyn dadansoddiad ysgrifenedig o hono i'r cyfarfod nesaf. Pan yr eir trwy gwrs trefnus, gellir cymeryd yr ymarferiadau yn y 3ydd a'r 4ydd gris yn y drefn ganlynol—97, 115, 134, 136, 140, 141, 142, 143, 144, 145, 113, 119, 120, 174, 175. Y mae rhai o'r ymarferiadau gydag efelychiadau canredol *(fugal)* yn rhy anhawdd i'r gris yma.

## HOSANNA.

Ym. 170. CY. C. *Seiniau dewisiadol,* d' r' m' f'* *Mainzer.*




## HALELIWIA.

Ym. 171. CY. C. *Seiniau dewisiadol,* d' r' m' f' — *Mainzer.*




Ym. 172. CY. G. **AMEN.** *Albrechtsberger.*

= *Seiniau dewisiadol,* m f s l.




* Y mae llinelliad uwchben nodyn fel hyn — yn dangos pa le y mae y Tenorwyr yn cael eu cynghori i ddwyn i mewn y rhestr deneu, a llinelliad dwbl fel hyn = yn dangos lle y cynghorir hwynt i arfer y rhestr dew.

*Cyf. Saf.* (*New.*)

## Y GWCW.

Ym. 173. CY. C. M. 112. Ton gron i bedair ran. *Seiniau dewisiadol,* d' r' m'. *A. L. C.*




CODA.—Gan bawb gyda'u gilydd.




*Cyf. Saf. (New.)*

## MIS MAI.

*A.L.C.*

**Ym. 174.** CY. G. Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*




## Y MOR I MI.

*A. L. C.*

Ym. 175. cy. D. Soprano. Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*


cen - - - - do.
wy - neb, dy - na yw fy nghri; Rhuthr -
ro yn mlaen gyd - a nerth a wna, Nen
su - o y mor - wr i gys - - - gu'n bra'.
Y mor i mi, Y mor i
mi, Y glas - for dwfn i mi.
FINE. A. t. dolce.
Ein llong dros y don yn

*Cyf. Saf.* (*New.*)




**Rhydd-ymarferiadau ar y Modulator a gynwysant yn awr drawsgyweiriad o un symudiad.** Ni ddylid gwneyd y rhai hyn yn rhy anhawdd trwy neidiadau pell ac annysgwyliadwy ar y sain wahaniaethol; nac yn rhy hawdd trwy ddynesu bob amser at y sain wahaniaethol o gam i gam. Tra yr ydys yn dysgu effeithiau trawsgyweiriad, gellir sol-ffeio yr ymarferiadau hyn, ond nis gall yr athraw fod yn *foddlawn* bellach ar sol-ffeio. Dylai pob ymarferiad gael ei *la-io* hefyd (tudal. 39), a hyny ar y *la* agored Eidalaidd (tudal. 2).

**Rhydd-ymarferiadau ar y Modulator mewn dwy ran.**—Mae y rhai hyn yn dra dyddorol i'r dysgybl, ac y maent yn ymarferiadau lleisiol rhagorol pan yn cael eu canu ar y *scâlâ* pur ac agored, a pho fwyaf syml fyddont, goreu oll i'r pwrpas hwn. Ond os gwneir hwynt yn anhawdd i'r dysgybl, y maent yn dyfod yn anhawdd i'r athraw, ac y mae ei sylw yn cael ei gymeryd i fynu gan y gerddoriaeth y mae yn ei llunio, fel y mae yn anghofio gwrando ar briodol ansawdd y llais. Dylai yr athraw na fyn arfer ond cerddoriaeth dda mewn dwy ran barotoi yr ymarferiadau hyn yn ofalus.

**La-io ar yr Olwg Gyntaf.**—Mae y rhydd-ymarferiadau ar La, mewn gwirionedd, yn ymarferiadau mewn canu ar yr olwg gyntaf, os na fydd i'r athraw lithro i'r arferiad o fyned dros yr un peth Gwel. tudal. 45. Ond ar y goreu nid ydynt yn

**rhoi** dim ymarferiad mewn darllen yr *amser* ar yr **olwg** gyntaf. O herwydd hyn y mae yn hollol **angen**rheidiol la-io ar yr olwg gyntaf oddiwrth **gerddoriaeth** newydd (megys y *Reporter* misol) neu **y** bwrdd du.

**Cofio y Tri Chyweirnod.**—Dylai y dysgyblion yn **awr** gofio nid yn unig pa beth sydd uwchlaw ac **islaw** pob nodyn ar y modulator, ond pa beth sydd **ar** ei dde ac ar ei aswy. Nid yw yr un cyweirnod mwyach yn sefyll ei hunan ar fodulator y meddwl. **Y** mae ganddo frawd henach ar y dde, ac un **ieuengach** ar yr aswy, ac y mae pob un o'r seiniau **yn** dal perthynas gefndyrol â'r ddau deulu arall, ac **fo** ellir eu galw i fyned i mewn atynt. O ganlyn**iad** dylid yn mhob un o'r gwersi diweddaraf yn y **gris** hwn, roddi ymarferiadau er gosod y berthynas **yma** ar y cof (tudal. 55). Rhaid i'r dysgyblion ddysgu dyweyd y perthynasau hyn gyda'u gilydd, **a** phob un drosto ei hun, *heb* y modulator.

**Cof Gynlluniau.**—Y mae yn anhawdd dangos **rhaniadau** ar amser trwy symudiad y pwyntydd ar **y** modulator gyda digon o fanylder fel ag i *arwain* **y** canwr wrth ddilyn rhydd-ymarferiad ar y modu**lator**, ac y mae o bwys i ymarfer y cof mewn sein**iau** a mydr. I'r dyben hwn y mae ein hathrawon **yn** rhoi *cynlluniau neu batrymau maith*—yn cyr**haedd** dwy neu dair o ddosranau—yn cynwys rhai **o'r** mydrau mwyaf anhawdd. Rhöir y cynlluniau **hyn** trwy la-io, ond yn pwyntio ar y modulator. **Mae** y dysgyblion yn eu hefelychu *heb* bwyntiad **yr** athraw, gan sol-ffeio yn gyntaf, a la-io wedi **hyny**.

**Canu o'r Cof.**—Mae yr arferiad o ganu darnau **cyfain** o'r cof, mewn ufudd-dod i'r gorchymyn "Cauer y llyfrau; llygaid ar y ffon," yn un bur **ddymunol**. Mae y canwr yn mwynhau yr arferiad **o** ddarostyngiad i'r arweinydd, ynghyd a theimlad **o** gymdeithasiad yn y darostyngiad hwnw, ac yn **ymhyfrydu** yn yr effeithiau sydd yn cael eu cyn**yrchu** fel hyn. Mae yr ymarferiad hwn yn dra **angenrheidiol** erbyn cyrhaedd y fan hon, er mwyn *ffurfio arferiad* yn y canwr o *edrych* i fynu oddiwrth ei lyfr. Dyma bellach ddylai fod ei ystum rheolaidd. Ond gan fod llygad y dysgybl o angenrheidrwydd wedi bod hyd yma ar ei lyfr, bydd yn rhaid iddo wneyd ymdrech ymwybyddol i ffurfio yr arferiad o edrych i fynu. Bydd canu achlysurol o'r cof yn peri iddo deimlo y budd a'r pleser o hyn.

**Ymarferiadau i'r Glust,** fel ar tudalenau 26 a 45, a argraffant ar y meddwl effeithiau meddyliol **fe a ta.**

**Clust-ymarferiadau mewn Amser,** fel ar tudal. 26. Rhaid eu parhau gyda'r anhawsderau newydd mewn amser. Dylid

**Darllen Allan,** fel ar tudalenau 13 a 26 gyda'r enwau newydd ar amser sydd wedi eu dwyn i mewn, yn llawer mwy nag o'r blaen. Fel hyn gellir ychwanegu yn gyflym gopiau o donau yn perthyn i'r gris hwn o gyfresau ereill o wersi, neu o gyfansoddiadau gwreiddiol, neu ddarnau ar gyfer achlysuron neillduol. Unwaith y byddo'r arferiad o ddarllen allan, a defnyddiad "Copi Lyfrau y Tonic Sol-ffa," wedi dod yn gyffredin mewn ysgol neu ddosbarth, gellir gwneyd llawer o bethau trwyddo. Y mae rhai ysgolion yn cael eu dysgu gan y Modulator, set o Fur-leni, a Chopi Lyfrau. Po bellaf yr awn mewn darllen allan, mwyaf defnyddiol y daw yr amser-enwau. Darllenid allan Ym. 174, *ll* 3, *m* 2, &c., fel hyn:—"TRA-E **m**,"—"TATE **f f**"—"TLAeffe **s f**"—"TA-E **m**"—"trateti **r d r**"—"tateti **m r m**"—"tlateti **f m f**"—"tasti **s s**"—TRA*SE* **l**"—"TA*SE* **s**"—"TLA*SE* **f**"—TRATE **d r**"—"-ATE **r**" &c. Darllenid trydydd mesur yr un don fel hyn:—"**s**-un **f**"—TATE **r** t-un."

**Pwyntio o'r Cof ac Ysgrifenu o'r Cof,** fel ar tudalenau 13 a 26. Dylid parhau i arfer gwneyd hyn. Nid yw yr ail mewn un modd yn cymeryd lle y cyntaf. Gwyddom am ddysgyblion a allent ysgrifenu tonau o'r cof, ond nas gallent bwyntio yr un tonau ar y modulator. Y mae o bwys sefydlu yn y cof yr olwg arluniol hono o berthynas cyweirnodol, yr hon a rydd y modulator, yn enwedig yn awr pan y mae yr efrydiaeth o drawsgyweiriad yn cael ei ychwanegu at efrydiaeth y raddfa.

## *CWESTIYNAU AR GYFER ARHOLIAD YSGRIFENEDIG NEU LAFAR.*

### ATHRAWIAETH.

1 **Enwer** seiniau cord F. Dyweder **yn** mha fodd y mae yn-debyg i gordiau **D a S.** Sut y mae yn dal perthynas â **chord** D, a pha fodd y desgrifiwch **chwi** yr effaith feddyliol?

2 Desgrifiwch y cord 7S. Yn mha amgylchiad y mae effaith anghydseiniol *fah* yn erbyn *soh* yn cael ei theimlo ysgafnaf? Pa fodd y mae y *fah* yn y cord hwn yn cael ei pharotoi yn gyffredin, a pha fodd y mae bob amser yn cael ei hadferu?

3 Beth a feddylir wrth "amwysedd cordiau," a pha un o'r cordiau sydd nas gellir dychymygu iddo fod yn perthyn ond i un cyweirnod?

4 Beth ydyw cord mwyaf?—cord lleiaf?—cord lleiedig?—a pha un o'r

rhai hyn sydd, ynddo ei hun, yn fwyaf dymunol i'r glust?

5 Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng y seiniau *ray* a *rah*? Pa seiniau o'r raddfa sydd yn gofyn *rah* i gydseinio yn hyfryd a hwynt, a phai rai *ray*?

6 Pa rai ydynt seiniau y cord RAH? Yn mha gyflead y ceir ef fynychaf? a pha fodd y desgrifiech chwi ei effaith feddyliol?

7 Pa rai ydynt seiniau y cord T? Pa fodd y mae ei wreiddyn a'i bumed yn cael eu hadferu yn gyffredin? Yn mha gyflead ac o dan ba amgylchiadau y defnyddir ef yn gyffredin, a pha beth ydyw ei effaith feddyliol?

8 Pa rai ydynt seiniau y cord L? Yn mha gyflead y mae yn cael ei ddefnyddio ar wahan oddiwrth y modd lleiaf? A pha gord a ddefnyddir yn gydgyfnewidiol ag ef? Beth ydyw ei effaith feddyliol?

9 Pa rai ydynt seiniau y cord M? A ellir ei ddefnyddio yn lle y llywydd neu is-lywydd, fel y cord T a R? A ddefnyddir ef yn fynych?

10 Pa anghydsain sydd yn y cord 7R? A pha fodd y mae yn cael ei baratoi a'i adferu? Am ba gord mewn diweddebau y mae ysgrifenwyr yn ddiweddar yn fynych yn defnyddio 7R*b*?

11 Beth ydyw prif ffynonell effaith feddyliol mewn cord? Ac yn mha gyflead y mae yr effaith feddyliol hono yn cael ei dwyn allan oreu?

12 Pa beth ydyw diweddeb? Enwer y tri neu bedwar cord diweddaf mewn diweddeb tonyddol, llywyddol, *plagal*, annysgwyliadwy.

13 Pa un yw y prif amgylchiad yn mha un y defnyddir cord yn ei gyflead *c*, a pha beth ydyw hynodrwydd yr amgylchiad hwn? Yn mha amgylchiadau ereill y caniateir y cyflead *c*, a pha rai yw ei dri phrif esgus?

14 A ellwch chwi gofio unrhyw hynodrwydd yn ngadawiad allan neu ddybliad y trydydd sydd yn perthyn i'r cord 7S? Neu unrhyw hynodrwydd arall sydd yn perthyn i gordiau lleiaf yn gyffredin?

15 Pa le y mae camrau bychain y raddfa? y rhai mwyaf? y rhai lleiaf? Trwy ba gyfryngau y mae dau gam bychan y raddfa wedi eu hysgaru oddiwrth eu gilydd? Pa fodd y gellwch chwi ddeffinio *doh*?

16 Pa rai ydynt seiniau mwyaf nodweddiadol y raddfa? A pha fodd y gellir eu desgrifio?

17 Beth ydyw trawsgyweiriad? Yn mha fodd y mae y seiniau hyny mewn ton yn cael eu newid, nad ydynt yn newid eu graddeg?

18 Beth ydyw y sain lon wahaniaethol, a pha beth ydyw ei heffaith ar y glust? Beth ydyw y sain leddf wahaniaethol, a'i heffaith feddyliol?

19 O herwydd anghymeradwyaeth y glust i deirton fel symudiad neu ragfudiad melodaidd, pa adranau melodaidd, wedi eu mynychu, sydd yn naturiol yn awgrymu trawsgyweiriad?

20 Beth a feddylir wrth y cyweirnod llon cyntaf? Y cyweirnod lleddf cyntaf? Wrth fyned i'r cyweirnod llon cyntaf, heblaw dodi y sain dreiddgar am y sain frawychus, pa gyfnewidiad mewn effaith sydd yn cymeryd lle mewn sain sydd yn drydedd uwchlaw y sain wahaniaethol? A oes ryw gyfnewidiad yn cymeryd lle ar y *lah* heblaw yr un yn yr effaith? (Gweler y *ray* ddwys, tudal. 49.) Wrth fyned i'r cyweirnod lleddf cyntaf, heblaw cyfnewidiad y sain dreiddiadol am y sain frawychus, pa gyfnewidiad effaith a pha gyfnewidiad arall sydd yn cymeryd lle yn y drydedd uwchlaw y sain wahaniaethol newydd?

21 Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng prif drawsgyweiriad a thrawsgyweiriad dychweliadol?

22 Beth ydyw sain drosglwyddiadol? Rhodder esiampl o drosglwyddsain yn gwneyd trawsgyweiriad trwy sain wahaniaethol y cyweirnod newydd.

23 Beth ydyw ystyr y nodau bychain a osodir ar dde neu aswy arwydd y cyweirnod mewn trawsgyweiriad?

24 Beth ydyw effeithiau meddyliol cyffredin trawsgyweiriad i'r cyweirnod llon cyntaf? ac i'r cyweirnod lleddf cyntaf?

25 Pa fodd y dangoswch chwi drawsgyweiriad trwy y llaw-arwyddion?

26 Pa fath effaith a gynyrchir ar y meddwl pan nad yw *fe* yn symud i *soh* yn y cord nesaf, neu pan nad yw *ta* yn myned i *lah*? ac wrth ba enw y mae yr effaith hono yn cael ei galw?

27 Beth ydyw yr engraifft fwyaf cyffredin o drawsgyweiriad i'r cyweirnod llon cyntaf, ac wrth ba enw y mae yn cael ei alw? Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng y cyweirnodau llon a lleddf yn yr ystyr hwn?

28 Beth ydyw yr engraifft fwyaf cyffredin o drawsgyweiriad i'r cywair lleddf cyntaf, ac wrth ba enw y mae yn cael ei alw? Pa fodd y mae y cyweirnod llon yn gwahaniaethu oddiwrth y lleddf yn yr ystyr hwn?

29 Pa fodd yr ydych yn deffinio trawsgyweiriad estynedig. Pa un o'r ddau drawsgyweiriad a ddefnyddir fynychaf felly?

30 Beth ydyw llon? A pha berthynas sydd rhyngddi â'r seiniau sydd yn sefyll tu uchaf a thu isaf iddi yn y raddfa? Beth ydyw lleddf? A pha berthynas sydd rhyngddi â'r seiniau uwchlaw ac islaw iddi yn y raddfa?

31 Ar ba bethau neillduol o ran gwybodaeth a medr y mae datganiad cerddorol yn dibynu? Pa un ai y llafariaid ai y cydseiniaid ydynt y mwyaf pwysig mewn canu? A phaham? Paham y mae y naill i'w hefrydu o flaen y llall?

32 Enwer a dangoser y cynaniadau neu y cydseiniaid gwefusol?

33 Enwer a dangoser y ddau gydsain i'r wefus a'r danedd.

34 Enwer ac eglurer dau gydsain i flaen y tafod a'r danedd.

35 Enwer ac eglurer dau gydsain i flaen y tafod a thaflod y genau.

36 Enwer ac eglurer y cydseiniaid canol y tafod gyda thaflod y genau, yn y rhai y mae canol y tafod yn cymeryd rhan arbenig,—y rhai nad yw yn cymeryd rhan mor arbenig,—a'r rhai nad yw yn cymeryd un rhan.

37 Enwer ac eglurer cydseiniaid bôn y tafod.

38 Enwer y cydseiniaid gyda mynedfa gauedig, gan osod yr ansoddau, anadl a llais, gyda'u gilydd yn gyplau.

39 Enwer, fel uchod, y cydseiniaid gyda mynedfeydd canolog.

40 Enwer, fel uchod, y cydseiniaid gyda mynedfeydd ochrog.

41 Enwer y cydseiniaid gyda mynedfeydd trwynol.

42 Desgrifier yr ebychiad H. Yn y cydseiniaid, pa beirianau llafar sydd yn dod at eu gilydd, ac yn ymwahanu?

43 Pa rai ydynt y cydseiniaid anhawddaf eu canu. Pa rai ydynt yr Hysiadau a'r Sisiadau? Pa mor bell y gellir canu y naill a'r llall? Beth ydyw Llithriad? Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng y Llithriad yn uno *b* ac *w* a'r un sydd yn uno *b* ac *i*. Os cadwer dwy sain ar wahan, ond yn cael eu cynanu yn gyflym, y naill ar ol y llall, pa beth yn ychwaneg sydd yn eisieu er eu gwneyd yn sill? Gan nad oes prin un o'r cydseiniaid yn hyfryd pan yn cael eu swnio ar eu penau eu hunain, pa ran o effeith gydseiniol sydd y gellir mewn gwirionedd ei seinio? A pha arferiad, gan hyny, yn nhriniaeth peirianau y llais y mae o bwys i'r canwr ei ffurfio?

[44 Noder y modd y camseinir y llafariaid Cymreig, yr *a*, yr *e*, yr *i*, yr *o*, yr *u*, yr *w*, a'r *y*,—a'r modd y camseinir rhai deuseiniaid,—ac y dodir rhai llythyrenau diangenrhaid mewn geiriau, ac y gadawer ereill allan ddylent fod i mewn.]

45 Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng yr aceniadau mewn curiadau cerddoriaeth ac mewn curiadau siarad cy-

hoeddus? Rhodder egluriadau o "fesurau cymysg" areithio.

46 Beth ydyw pwrpas y dreithgan (neu'r salmgan), ac i ba brif rhanau y mae yn cael ei rhanu? Beth sydd yn llywodraethu hyd y nod adroddiadol? Wrth ddysgu cerddoriaeth a geiriau treithgan, pa beth ddylid gael ei ddysgu allan o ben bwygilydd? Pa fodd y dylid efrydu datganiad y geiriau?

47 Beth ydyw yr enw am chwarter distaw curiad pan y mae yn dyfod o fewn yr haner aceniadol?—Pan o fewn yr haner diacen? Pa fodd y mae yn cael ei ddangos yn y nodiant?

48 Gyda pha lafariad y mae trydedd gyntaf curiad yn cael ei dangos? —yr ail?—yr olaf? Pa fodd yr ysgrifenir trydeddau yn y nodiant?

49 Pa fathau gwahanol o aceniad sydd mewn brawddeg gerddorol, a pha fodd yr ydych yn deffinio curiad? Beth raid y trosglwyddwr i'r Tonic Sol-ffa wneyd pan y mae yn dymuno gwybod pa un ai y *crotchet*, y *quaver*, neu y *minim* sydd yn cael eu trin fel y curiad yn y nodiant cyffredin? Pa fodd y dylid tate-io y mesur chwe churiad cyflym?

50 Paham nad yw y dysgybl yn cael ei ddysgu i guro amser yn y grisiau cyntaf?

51 Desgrifier y mathau o ymarferiadau trwy ba rai y mae yr athraw yn ceisio roi yn meddyliau y dysgyblion y syniad o amser?

52 Desgrifier y ffurf mwyaf eglur ganfyddwy o guro y mesur dau guriad —tri churiad—pedwar curiad—chwe churiad.

53 Gan fod y curiad tua'r dde yn gysylltiol, yn y mesur pedwar curiad, a'r aceniad canol neu gymhedrol, paham y mae hefyd yn gyfaddas i ail guriad y mesur tri churiad?

54 A ydyw ansawdd sain rhan isaf llais merch yn wahanol mewn rhyw fodd i'r un sain pan yn cael ei chynyrchu gan ran uchaf llais mab? Pa restr o'u lleisiau y mae ar gantorion gwrywaidd gywilydd yn gyffredin o honi, cyn i'w lleisiau gael eu hamaethu?

55 Pa restr a esgeulusir fwyaf mewn lleisiau diamaethedig merched? Desgrifier y moddion trwy ba rai y mae yr athraw yn arwain ei ddysgyblion benywaidd i adnabod eu rhestr dew.

56 Desgrifier y ffordd i gryfhau rhestr dew merched.

57 Beth a feddylir wrth ymdoddiad y rhestrau i'w gilydd? Desgrifier yr ymarferiadau trwy ba rai y mae y rhestrau tew a theneu yn cael eu cyfartalu.

58 Beth ydyw enwau Sol-ffäyddol seiniau dewisiadol llais tenor yn nghyweirnod C?—G?—B♭?—F?—A?—D? Os bydd swp o seiniau, yn dechreu ar sain ddewisiadol, yn myned uwchlaw G, yn mha restr y dechreuech? Os bydd y cyfryw swp yn dechreu islaw y seiniau dewisiadol, yn esgyn i F, yn mha restr y dechreuech? Os bydd y cyfryw swp yn dechreu yn uwch na G, yn disgyn i'r seiniau dewisiadol, pa restr a ddefnyddiech? Os bydd pethau ereill yn gyfartal, pa restr a ddewisech ar y seiniau dewisol i ganu darn *forte*? un *piano*?

59 Pa fantais ydyw i'r canwr feddu gwybodaeth am anghydseiniaid?

60 Pa rai ydynt y pum prif esgusion dros anghydsain ar ran wan o guriad? Beth ydyw yr adferiad cyffredin o anghydsain ran-guriadol ar ran gref o guriad? Beth ydyw tri pharatöad y cyfryw anghydseiniaid? a'r enwau ar y paratöadau hyny? Paham y mae cyfansoddwyr weithiau yn gadael anghydsain heb ei pharatoi?

61 Pan y mae dosbarth yn alluog i efrydu y pwnc hwn o anghydseiniaid, sut mae'r athraw yn ei ddwyn yn ymarferol i'w sylw?

62 Pa rai o'r anghydseiniaid llawnguriadol a ddefnyddir yn fwy mynych pan y mae'r curiadau yn symud yn gyflym na phan y maent yn symud yn araf? Pa fodd y defnyddir cyndarawiadau (blaen-ergydion) pan amcenir at ystwythder melodaidd, a pha fodd pan ddymunir cael effaith anghydseiniol?

63 Desgrifier y chwe diweddeb ychwanegol a ddygir i mewn i'r ymarferiadau o ddwy ran yn y gris hwn?

64 Beth ydyw dosran? Beth ydyw adran? Beth ydyw diweddran? Beth y mae dosran o ddau fesur yn cael ei alw? Un o dri mesur? Un o bedwar?

65 Beth ydyw tair prif elfen Ffurf dda? Paham y mae o fwy o bwys i'r canwr i efrydu egwyddorion ffurf gerddorol nag y mae i'r gwrandawr?

66 Pa rai ydynt y tri chwestiwn y dylai hyd yn nod y dysgyblion yn yr elfenau eu hateb mewn perthynas i bob ton cyn iddi gael ei chanu? Pa rai ydynt y cwestiynau ereill y dylai y dysgyblion eu hateb mewn llwyr-ddadelfeniad ffurf gerddorol?

67 Pa fodd y dylid cario yn mlaen rydd-ymarferiadau ar y modulator yn y gris hwn?

68 Paham y mae yn angenrheidiol la-io o'r llyfrau ar yr olwg gyntaf?

69 Paham y mae yn angenrheidiol argraffu y modulator ar y cof?

70 Paham y mae cynlluniau i'r cof yn ddefnyddiol?

71 Rhodder rhesymau dros yr arferiad o ganu o'r cof.

72 Pa fanteision newydd mewn darllen allan y mae yr ymarferiadau mewn amser yn y gris hwn yn eu dwyn i ni?

73 Paham y dylai pwyntio gystal ag ysgrifenu o'r cof gael ei barhau?

## YMARFERIAD.

74 Dalier sain barhaol ag un anadl am ugain eiliad.

75 Caner gydag ansawdd brydferth flaenol ar y llais bob rhan o Ym. 121 yn Nghy. E, M. 70.

76 Enwer o guriad i guriad y cordiau yn y mesur cyntaf a'r trydydd yn Ym. 122, tudal. 48.

77 La-er mewn seiniau priodol ail ran Ym. 122, tra bydd yr athraw neu ryw un arall, gyda llais cywir, yn la-io y rhan gyntaf a'r drydedd, tudal. 48.

78 Ar ol i'r athraw ganu ar rifnodau yn olynol o gord i gord Ym. 122, gan adael yr ail fesur allan, bydded i'r dysgyblion ddyweyd ar ba rifnod y canwyd y cord *Da*; yr un modd gydag Ym. 123 hyd 126. Dylai hyd yn nod dysgyblion yn yr elfenau wybod wrth y glust effeithiau meddyliol y prif gordiau yn eu cyflead *a*, tudal. 58 hyd 60.

79 Yn yr un modd bydded i'r dysgybl wahaniaethu cordiau *Sa* yn Ym. 122 hyd 126.

80 Yn yr un modd gwahaniaethed y dysgybl *Fa* yn Ym. 122, 123, a 124.

81 Yn yr un modd bydded i'r dysgybl wahaniaethu $^7Sa$ yn Ym. 122 a 123.

82 Yn yr un modd gwahaniaethed y dysgybl *La* yn Ym. 126.

83 Gwrandawer ar Ym. 123 hyd 126 yn cael ei la-io, ac enwer y diweddebau (tudal. 51).

84 Yn yr un modd gyda chwestiwn 78 bydded i'r dysgybl wahaniaethu cord *Db* yn Ym. 124 a 125. Gellir ateb hwn a'r pedwar cwestiwn canlynol (hyd 88) gan y dysgyblion mwyaf blaenllaw.

85 Yr un modd gwahaniaethed y dysgybl *Dc* yn Ym. 124 a 125.

86 Yr un modd bydded i'r dysgyblion enwi *Fb* yn Ym. 124, 125, ac 126, gan ei wahaniaethu yn ofalus oddiwrth *La*.

87 Yn yr un modd enwed y dysgybl *Rb* yn Ym. 124, a $^7Rb$ yn Ym. 126, gan eu gwahaniaethu yn ofalus oddiwrth *Fa*.

88 Yn yr un modd bydded i'r dysgybl enwi *Fa* yn Ym. 126, a *Fb* yn 125, gan eu gwahaniaethu yn ofalus oddiwrth $^7Sb$ a $^7Sc$.

89 Wedi i'r athraw neu ryw un

arall ganu ar rifnodau (o un i saith ddwywaith) Ym. 127*b*, bydded i'r dysgybl benderfynu ar ba rifnod yr oedd sain wahaniaethol y cyweirnod llon cyntaf yn cael ei chlywed. Yr un modd gydag Ym. 128, tudal. 56.

90 Yn yr un modd bydded i'r dysgybl enwi sain wahaniaethol y cyweirnod lleddf cyntaf yn Ym. 130 ac 131.

91 Wedi i'r athraw neu ryw un drosto ganu Ym. 133, ar rifnodau, (wyth i un linell, chwech i'r llall) enwed y dysgybl, trwy y rhifnod, yn gyntaf sain wahaniaethol trawsgyweiriad, ac yn ail un y trawsgyweiriad dychweliadol.

92 Yr un modd gydag Ym. 126. Mesur seithau.

93 Yr un modd gydag Ym. 130. Mesur cyffredin, neu wyth a chwech.

94 Yr un modd gydag Ym. 143.

95 Llaw-arwydder, o'r cof, fel y gallai dysgyblion cyflym ganu oddiwrth eich llaw-arwyddion, Ym. 65, 99, a phriflais 97. (Tudal. 55.)

96 Gwneler llaw-arwyddion fel uchod am Ym. 85, 86, a 123.

97 Llaw-arwydder, fel uchod, ran gyntaf a thrydedd ran Ym. 124, 125, a 126.

98 Marcier yr anadlfanau goreu (i gyfateb i'r brawddegiad a'r synwyr) i benill cyntaf a thrydydd penill Ym. 133, ail linell y farddoniaeth, ac Ym. 134, trydedd linell y farddoniaeth.

99 Ychwaneger unrhyw arwydd o fynegiant sydd yn eich taro yn Ym. 140, 142, 143, 144, 149.

100 Tarawer heb seinfforch y cyweirnodau B, B fflat, E, E fflat, ac A fflat. Ni fydd y dysgybl wedi dod i fynu â'r gofyniad hwn os ceir ei fod, pan brofer ef, gymaint a "cham" o'i le.

101 Caner ar eiriau unrhyw un o Ym. 133 hyd 145 fel y gofynir ar tudal. 25, cwestiwn 46.

102 Cynaner yn gywir y llafariaid a nodir yn y geiriau yn Ym. 146.

103 Yr un modd yn Ym. 147.
104 Eto Ym. 148.
105 Eto Ym. 149.
106 Eto Ym. 150.
107 Eto Ym. 151.
108 Eto Ym. 152.

109 Adrodder mewn amser cywir yr esiamplau a roddir ar tudal. 68, y golofn gyntaf.

110 Tata-er ar un sain, yn gymhwys fel y marcir, fydrau Ym. 123 a 125.

111 Tata-er o'r cof unrhyw un o'r Ymarferiadau 157 hyd 161, y curiad cyntaf yn cael ei enwi.

112 Tata-er rhan uchaf unrhyw un o'r Ym. 170 hyd 174.

113 Curer fel y cyfarwyddir (tudal. 71,) bedwar mesur dau guriad, yn ol M. 60, aroser ddau fesur, a pharhaer y curo *ar yr iawn foment* am ddau fesur yn ychwaneg. Metronome distaw, na welir mo hono gan y dysgyblion, ydyw y prawf goreu ar yr Ymarferiad hwn.

114 Yr un gyda mesur pedwar curiad, M. 90.

115 Yr un gyda mesur tri churiad, M. 60.

116 Yr un gyda mesur chwe churiad, M. 120.

117 Caner ar *cw* gyda'r rhestr deneu Ym. 162 neu 163, pa un bynag a ddewiso yr athraw, tudal. 72.

118 Caner ar *cw* gyda'r rhestr dew Ym. 164, 165, a 166, pa un bynag a ddewiso yr athraw.

119 Caner ar *cw* Ym. 168 ac 169, pa un bynag a ddewiso yr athraw, gan wneyd y rhestrau o'r un uchder ac ansawdd.

120 Marcier i'r canwr Tenor yn Ym. 133, yn gyntaf y seiniau dewisiadol; yn ail y manau lle y mae yn fwyaf priodol i newid rhestrau, fel y gwneir yn Ym. 170 hyd 173, ac fel yr awgrymir tudal. 73, a chwestiwn 58 uchod.

121 Yr un modd gydag Ym. 135, 136, 137, 138, 143, a 145.

122 Heb droi ar y pryd at tudal. 73 a 74, troer at esiamplau o'r sain fynedol, neu y pas-don ar ran o guriad, y sain rhag-darawiadol, yr un ymdonol neu chwifiol, yr un ymlynol, yr un dywysol, y cyndarawiad gwastad neu wastadgyfeiriol, yr un gwyr-gyfeiriol, a'r un heb ei barotoi.

123 Heb gyfeirio ar y pryd at tudal. 74, troer at esiamplau o'r cyndarawiad gwastad llawn, yr un gwyrol llawn, a'r un llawn heb ei baratoi.

124 Heb gyfeirio ar y pryd at tudal. 74, chwilier am esiamplau o'r diweddebau canlynol, F,—R,—$_s$D,—$_r$D,—S gwan-guriad,—$_r$D gwan-guriad.

125 Dadelfener unrhyw un o Ym. 97, 115, 135, 136, a 140 a ddewiser gan yr athraw.

126 Yr un modd gydag Ym. 141 hyd 145.

127 Yr un modd gydag Ym. 118, 119, 120, 174, 175.

128 Marcier y lleoedd goreu i anadlu yn mhob rhan o Ym. 170 hyd 172, fel ag i ddal i fynu y llais, dangos allan yr adranau cerddorol, a pheidio ymyryd ag ystyr y geiriau.

129 Ychwaneger unrhyw farciau am fynegiant (gwel tudal. 32) sydd yn eich taro at Ym. 170 hyd 174.

130 Caner ar eiriau unrhyw un o Ym. 170 hyd 170, fel y gofynir tudal. 27, cwestiwn 46, a ddewiser gan yr athraw.

131 Dilyner pwyntiad yr athraw ar rydd-ymarferiad newydd, gan daro seiniau gwahaniaethol y cyweirnod llon cyntaf, a'r cyweirnod lleddf cyntaf, trwy lamu, a chanu ar *la*.

132 Pwyntier a solffäer oddiar y modulator, o'r cof, unrhyw un o Ym. 138 hyd 144 a ddewiso yr holydd.

133 Ysgrifener o'r cof unrhyw un arall o'r deuddeg Ymarferiad hyn a ddewiso yr holydd.

134 La-er ar yr olwg gyntaf unrhyw Ymarferiad heb fod yn fwy anhawdd na'r deuddeg hyn.

135 Dyweder yn uchel neu ysgrifener i lawr, heb edrych ar y modulator na'r llyfr, seiniau trosglwyddiadol i'r dde a'r aswy bob sain ar y raddfa, fel y cyfarwydder tudal. 55.

136 Dyweder pa un ydyw *fe* a pha un ydyw *ta*, fel y cyfarwyddir tudal. 27, cwestiwn 56.

137 Dyweder pa sain (*fe* neu *ta*) ydyw *sca*, fel y cyfarwyddir tudal. 27, cwestiwn 57.

138 Tata-er unrhyw fydr o ddau neu dri o fesurau pedwar curiad, yn perthyn i'r gris hwn, a la-er gan yr holydd. Gwel tudal. 27, cwestiwn 58.

139 Tata-er mewn seiniau unrhyw fydr o ddau neu dri o fesurau pedwar curiad yn perthyn i'r gris hwn a solffäer gan yr holydd.

140 Caner ar eiriau, o'r cof, unrhyw un o Ym. 133 hyd 145 a ddewiser gan yr holydd, gan ganu unrhyw ran, ond yn cymeryd y penill olaf o'r geiriau.

141 Ysgrifener yn gywir y tair adran gerddorol y rhai a ddarllenid allan fel y canlyn:—1af, "TRATE *me doh*,"—"*safateffe me ray doh*,"—TRAtEFFE *te doh*,"—TA-E *ray*." 2il, "Traffatese *doh ray me*,"—"TATE *me doh*,"—"Traffateffe *me ray doh te*$_1$,"—"TA-E *doh*." 3ydd, "TRATETI *doh me soh*,"—"TA-ETI *fah ray*,"—TRATE *fah me*,"—"TATE *ray doh*,"—"TA-E *te*$_1$."

# Y PUMED GRIS.

*I fyned trwy ymarferiadau mwy anhawdd ar y fron a seiniadaeth bur a seinyddiaeth. I ddarllen cordiau wedi eu dirgelu gan y nodiant. I adnabod cordiau cromatig. I ganfod gallu diweddeb a phwyslais i ddwyn allan effaith feddyliol sain. I wahaniaethu moddau gwahanol y Raddfa Gyffredin. I adnabod a chynyrchu diweddebau priodol, a seiniau gwahaniaethol y Modd Lleiaf diweddar. I adnabod a chynyrchu Moddnewidiad, a Moddnewidiad Trawsgyweiriadol. I ddatganu yn briodol. I drefnu geiriau i'w treithganu. Dirnadaeth am y gwahanol ddulliau o roddi allan y seiniau,—tarawiad a gollyngiad. I arfer y graddau mewn nerth a chyflymdra cerddorol. I'w cymhwyso i ofynion amrywiol Datganiad Melodaidd a Chynghaneddol. Dadansoddi brawddegau cerddorol. Y Rhestr fechan. Y toriadau lleiaf. Dirnadaeth am Restrau. Graddfäau Rhestrau. Dosbarthiad Lleisiau. Triniaeth y seiniau dewisol. Bywiogrwydd llais. Chwechfedau, Wythfedau, a Nawfedau curiad. Rhaniadau anghyffredin mewn amser.*

**Y Fron a Seiniadaeth Bur.**—Mae y cantorion i newid llais yn mhob cyweirnod. Yn ol M. 60 bydd yn rhaid i'r lleisiau isaf gynilo eu hanadl am 24 eiliad. Yn Nghy. E♭ rhaid i'r lleisiau uchaf lithro pob adran ar y sain flaen-eneuol Eidalaidd *la*, M. 80. Yn Nghy. F, *ow-io* yn ol M. 72. Yn Nhgy. E, *la-io* fel uchod, yn ol M. 60. Yn Nghy. F♯, sol-ffeio yn ol M. 92. Yn yr holl gyweirnodau hyn gall y Basswyr ddefnyddio y rhestr deneu am d'. Ni ddylai fod ar y Tenorwyr angen am hyny.

**Ym 176.** cy. **E♭, F, E,** and **F♯.** Ymarferiadau y Fron, ac i gynyrchu sain glir.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| :d ,m ,s | d' ,s ,m :d ,m ,s | d' ,s ,m †:d ,m ,s | d' ,s ,m :d ,m ,s | d' †:d ,f ,l | d' ,l ,f :d ,f ,l | d' ,l ,f | |
| Sca - | - - - | - - - | - - - | la, Sca - | - - - | - | |
| :d | — :— | — :— | — :— | — :f | — :— | — | |
| Sca - | - - - | - - - | - - - | - - - | - - - | - | |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| †:d ,f ,l | d' ,l ,f :d ,f ,l | d' †:ᵈs₁ ,t₁ ,r | f ,r ,t₁ :s₁ ,t₁ ,r | f ,r ,t₁ †:s₁ ,t₁ ,r | f ,r ,t₁ :s₁ ,t₁ ,r | D.C. ˢd |
| - - | - - - | la, Sca | - - - | - - - | - - - | la. |
| :— | — :— | — :ᵈs | — :— | — :— | — :— | ˢd |
| - | - - - | - - - | - - - | - - - | - - - | la. |

**Ymchwiliad i'r Lleisiau.**—Er amser y dosbarthiad bras ar y lleisiau yn y trydydd gris, tudal. 31, bydd llawer o'r lleisiau wedi newid. Bydd amaethiad wedi dwyn allan gymhwysderau newyddion. Dylid gwneyd ymchwiliad, gan hyny, i bob llais o'r newydd, a thynu allan adroddiad o'i sefyllfa naturiol, gan ddangos ei gwmpas hawdd, ei natur, a'i swm yn mhob Rhestr. Fe wyr yr athraw oddiwrth barth oreu y llais pa un ai Soprano cyntaf neu ail, Contralto cyntaf neu ail, Tenor cyntaf neu ail, neu Bass cyntaf neu ail i'w alw. Mewn dosbarthiadau mawrion, ac mewn dosbarthiadau hwyrol cyffredin, ni fydd gan yr athraw amser i fyned trwy y gwaith pwysig hwn, oddigerth y gall gael cynorthwy cymhwys. Ond pa bryd bynag y gellir gwneyd hyny, dylai pob dysgybl, lawer gwaith yn y cwrs, dderbyn cynghor mewn perthynas i nodwedd a thriniaeth ei lais. Mewn gwirionedd, dylai gael ei roi i ofalu am ei lais ei hun, a dylid dysgwyl iddo ei gyflwyno mewn gwell ansawdd yn yr ymchwiliad nesaf.*

**Ymarferiadau mewn Seiniadaeth.**—I'r dyben a nodir ar tudal. 15, gellir parhau y rhai hyn yn awr, ac yn yr un drefn, ond na fo dim newid rhanau. Wedi i'r lleisiau gwrywaidd ymarfer, dylai y rhanau a nodir i'r Soprano gyntaf ac ail gael eu canu gan y Tenorwyr cyntaf ac ail, a'r rhai a nodir i'r Contralto cyntaf ac ail gan y cyntaf ac ail Basswyr.

* Gwel tudal. 116, a "Llyfr Adroddiad y Llais," pris 1s. 6ch.

Ym. 177. cy. G. S.S.C.C., neu T.T.B.B.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| s | d' :l | s :— ‖ | m | fe :s | s :fe | s :— ‖ |
| m | s :f | m :— ‖ | d | r :r | r :r | r :— ‖ |
| d | d :d | d :— ‖ | d | d :t, | l, :d | t, :— ‖ |
| d, | m, :f, | d, :— ‖ | d | l, :s, | r, :r, | s, :— ‖ |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| s | f :m | l :— ‖ | s | r :m | r :r | d :— ‖ |
| m | r :d | f :— ‖ | d | r :d | d :t, | d :— ‖ |
| d | t, :d | d :— ‖ | s, | s, :s, | s, :s, .f, | m, :— ‖ |
| d, | r, :m, | f, :— ‖ | m, | t,, :d, | s, :s, | d, :— ‖ |

Dirmyg edig yw a-diys | tyraf o'r gwyr— ‖ gwr gofidus — | a chyn efin a dolur — ‖ . 'Ac-yr oeddym megys-yn cuddio ein-hwyn | ebau oddi wrtho— ‖ . dirmygedig oedd 'ac-ni | wnaeth om gyfrif o hono—

. . Diau-efe-a gymerth-ein | gwen did ni— ‖ ac-a | ddug—ein doluriau—‖ Eto-ni-a'i cyfrifasom-ef | wedi ei faeddu— ‖ Ei— | daro gan Dduw a'i gystuddio—

. 'Ond efe-a-arch ollwyd am-ein cam | wedd au ni—‖ . efe-a ddrylliwyd | am ein hanwir eddau ni— ‖ . Cosbed igaeth-ein heddwch ni-oedd | ar no ef— ‖ 'A thrwy-ei gleisiau | ef yr-iach â wyd ni—

. . Nyni oll-a-grwydr | asom fel defaid— ‖ . troisom | bawb ei ffordd ei hun— ‖ . 'A'r Arglwydd-a roddes | ar no ef—‖ ein-han | wir edd ni i gyd—

. . Efe-a-orth rymwyd 'ac-ef | e-a gys tuddiwyd—‖ Ac | nid ag orai ei enau—‖ . Fel oen-yr-ar weinid | ef i'r lladdfa—‖ Ac-fel-y tau dafad-o flaen-y-rhai-ai cneifiai 'felly | yntau nid-ag orai ei enau—

Ym. 178. cy. G. D. t.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d | r :f | m :— ‖ | r s | l .t :d' | d, :t | d' :— ‖ |
| s, | r :t, | d :— ‖ | t, m | f :s | s :— .f | m :— ‖ |
| m, | s, :s, | s, :— ‖ | t, d | d .r :m | r :r | d :— ‖ |
| d, | t,, :s, | d, :— ‖ | s, d | f, :m, .f, | s, :s, | d :— ‖ |

f. G.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d' s | s :ta | l :— ‖ | l | f :m | r :r | d :— ‖ |
| s r | s :m | f :— ‖ | d | t, :d | d :t, | d :— ‖ |
| m t, | d :d | d :— ‖ | f, | f, :s, | s, :s, | m, :— ‖ |
| d s, | m, :d, | f, :— ‖ | f, | r, :d, | s, :s, | d, :— ‖ |

Ac-mi-a glywais lef uchel allan-o'r | nef yn dywedyd— ‖ Wele-y-mae pabell | Duw—gyd a dynion—

'Ac efe-a drig gyda-hwynt 'a hwy-a fyddent | bobl iddo ef— ‖ A Duw-ei hun-a-fydd gyda hwynt 'ac-a | fydd yn Dduw— iddynt—

*Cyf. Saf.* (*New.*)

. 'Ac-fe sych Duw ymaith bob deigr-oddi wrth-eu | llyg aid hwynt— || . 'A-mar | wol aeth ni bydd mwyach— || 'Na thristwch 'na llefain 'na phoen | ni bydd mwyach— || . Oblegid y-pethau | cyn taf a aeth heibio—

. . . *Pwy ydyw-y-rhai hyn-sydd wedi-eu gwisgo-mewn | gyn au gwynion*— || Ac — | o ba le y daethant—

. . Y-rhai hyn-yw-y-rhai-a ddaethant allan-o'r | cyst udd mawr— || . Ac-a-olch asant-eu gynau 'ac-a'u-can | asant hwy-yn ngwaed yr Oen—

. Ni-fydd arnynt-na newyn mwyach na | sych ed mwyach— || . 'Ac ni ddisgyn arnynt-na'r | haul — na dim gwres—

. 'Ob legid-yr Oen-yr hwn-sydd-yn nghanol-yr-or seddfainc a'u-bug | eil-ia hwynt— || Ac-a'u harwain at-ffyn | on au bywiol o ddyfroedd—

. 'A Duw 'a sych | ymaith bob deigr— || Oddi | wrth eu llyg aid hwynt—

**Cordiau Cuddiedig a Chromatig.**—Yn Ym. 177 gellir darllen cord y seithfed curiad ar y cyntaf fel 7fe*Rc*, ond fe ddengys ychydig o efrydiaeth ar y modulator a gwrandawiad distaw ar symudiad y cord mae 7*Sc* ydyw. Y mae yn cael ei guddio gan yr hyn a elwir yn nodiant anmhriodol trawsgyweiriad. (Gwel tudal. 56, 55.) Wrth ddadansoddi cordiau cuddiedig, yr ydym yn ysgrifenu gwir enw y cord a'i adferiad mewn cromfachau fel hyn:—(7*Sc* D.)

**Adferiad Cromatig.**—Ceir yr un cord yn 12fed curiad o Ym. 179, ond *nid* yw yno yn gord trawsgyweiriadol cuddiedig, oblegid y mae yn cael ei adferu yn gromaticaidd. (Gwel tudal, 56.) Yn lle symud i S, yr hyn a wnelai (S D) gwirioneddol, y mae yn symud i D*c*, cord sydd, fel 7S a D*b*, yn meddu ar allu arbenig i benderfynu y cyweirnod. Mae D*c*, tra y mae ei hunan yn wir Donydd y cyweirnod, yn rhoi gwir sain lywyddol y cyweirnod yn y cyflead mwyaf amlwg, sef yn y Bass. Fel hyn nid oedd cord 7feR yn bygwth trawsgyweiriad ond yn unig i ddangos pa mor dyn yr oedd yn ymlynu wrth y cyweirnod gwreiddiol. Yn yr un modd yr ydym yn sylwi nad yw taD yn 15fed curiad Ym. 278 ond 7S cuddiedig. Y mae yn gwneyd y trawsgyweiriad a ddangoswn ni fel hyn (7S D). Ond nid yw yr un cord yn Ym. 179, y 4ydd curiad, yn gord o drawsgyweiriad cuddiedig, oblegid y mae yn cael ei adferu ar 7S, cord penderfynol y cyweirnod gwreddiol.

Ym. 179. CY. C. *W. G. M'N,*

| | | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | s :s | d' :ta.ta | t :d' | r' :r' | m' :m' | f' :r' | m' :r' | d' :— |
| | Tru - gar - | ha wrthyf | O | Dduw, yn | ol dy | dru - gar - | awg - | rwydd. |
| | m :m | s :s .s | s :— | s :s | s :s | l :l | s :-.f | m :— |
| | d' :d' | d' :d' | r' :d' | t :t | d :d' | d' :d' | d' :t | d' :— |
| | Tru - gar - | ha wrthyf | O | Dduw, yn | ol dy | dru - gar - | awg - | rwydd. |
| | d :d | m :m .m | f :m | s :s | d' :d' | f :fe | s :s, | d :— |

Ym. 180. Enwer yr holl gordiau yn Ym. 177 hyd 179.

**Effaith Aceniad, Diweddeb, a'r Uwch-bumed** i ddwyn allan effaith feddyliol seiniau.—Y mae yn hawdd deall pa fodd y mae gosod unrhyw sain neillduol o dan aceniad cryf ton o angenrheidrwydd yn dwyn allan ei heffaith feddyliol neillduol i sylw. Y mae hefyd yn hawdd deall pa fodd y mae y gorphwysleoedd hyny mewn ton a elwir Diweddebau, tudal. 51, yn rhwym o roddi arbenigrwydd a phwysigrwydd i'r sain ar ba un y maent yn terfynu. Y mae diweddiad yn awgrymu saib neu arosiad *ar ol* i air roi arbenigrwydd iddo. Yn y diweddiadau mydryddol hyn, y mae hefyd, yn bur fynych, symudiad disgynol yn y melawd, yr hyn sydd yn rhoddi pwys yn y sain y mae yn disgyn arni. Y mae y gair Seisnig am Ddiweddeb—sef *Cadence*, yr hwn sydd yn dyfod o'r gair Lladin *Cado* (disgyn)—yn awgrymu hyn. Ond y mae ffynonell arall o bwyslais, yr hon a deimlir yn haws

nag y gellir ei hegluro. Hyny ydyw, dylanwad yr uwch-bumed ar unrhyw sain, neu yr hyn sydd yr un peth, ei his-bedwerydd. Er nas gallwn roddi *rhesymau* dros allu yr uwch-bumed mewn cerddoriaeth, gall fod yn ddyddorol i sylwi mai y pumed, yn ol trefn y cydseiniaid, ydyw y perffeithiaf, yn nesaf at yr wythawd, ac mai y pedwerydd sydd nesaf ato mewn perffeithrwydd cydgordiad; a phan y mae sain gerddorol yn cael ei hadferu i'w rhanau cyfansawdd, y pumed ydyw y drydedd ran neu "raniad," y cyntaf ar ol wythawd y sain sylfaenol —fod y pumed, mewn cynghanedd, yr hyn nad yw ond melodedd agosach, yn fuan wedi dyfod i gael ei alw yn llywydd, ar gyfrif ei allu i benderfynu y cyweirnod, a bod pumedau *dilynol* mewn cynghanedd yn cael eu teimlo yn galed ac anhyfryd, yn bur debyg am eu bod yn awgrymu dwy sain gyda llywyddion lle nad oes eisieu ond un. Yn llinell gyntaf y don dra adnabyddus "St. Brides," y mae l yn cael ei gwneyd yn bwysleisiol ac arbenigol—1af, trwy y diweddeb arni, ac yn 2il trwy y symudiad at ac oddiwrth ei his-bedwerydd:—

:l |m :l .,t |d' :t |l :— |— ||

Trwy yr un moddion yn union y mae y **d** yn y linell nesaf yn cael ei gwneyd yn arbenigol:—

:d' |s :d' .,r' |m' :r' |d' :— |— ||

Yn y drydedd linell nid oes unrhyw un sain yn cael ei gwneyd yn arbenigol yn y melawd:—

:m' |r' :d' |t :l |s :f |m ||

Ond yn y llinell olaf, trwy ddylanwad yr uwch-bumed, trwy aceniad, a thrwy ddiweddeb, y mae l eto yn dod yn arbenigol:—

:m' |l :r' |d' :t |l :— |— ||

Ceir esiampl yn yr hen don "Martyrs." Pan ysgrifenir hi yn ol y copiau hynaf, y rhai sydd yn cytuno gyda'r canu presenol arni yn Ucheldiroedd Ysgotland, y mae y sain **r** yn cael ei gwneyd yn arbenigol yn y linell gyntaf, trwy iddi godi ddwywaith i'w huwch-bumed, a gwneyd diweddeb arni:

:r |f :r |l :f |m :r |l ||

Yn yr ail linell trwy ei diweddeb ar yr is-bumed:

:l |d' :l |t :r' |l :- |- ||

*Cyf. Saf.* (*New.*)

Yn y drydedd linell gan ei diweddeb:—

:l |d' :s |l :f |m :r |l ||

Ac yn y llinell olaf, ar ol tri diweddeb ar yr uwch-bumed **r**, trwy ddiweddeb tra phenderfynol ar **r** ei hunan yn disgyn oddiwrth ei huwch-bumed:—

:d' |t :s |t :l |r :- |- ||

**Y Moddau.**—Mae y gallu hwn i wneyd unrhyw un o seiniau y raddfa mor arbenigol, fel ag i roddi ei hargraff ei hun ar yr holl neu ran o don wedi cael ei ddeall yn foreu gan bob cenedl, yn mhell cyn fod yr hyn a alwn ni yn gynghanedd yn adnabyddus. Yn yr hen gerddoriaeth Groegaidd a Lladinaidd yr oedd cynifer o *Foddau* i wneyd hyn ag oedd o seiniau yn y raddfa. Yn mhob modd yr oedd arbenigrwydd neillduol yn cael ei roddi i ryw un sain. Y mae cenedloedd dwyreiniol Persia, India, a China, y rhai nad ydynt yn hoffi ein cynghanedd ni, hyd yn nod yn y dyddiau presenol, yn dra manwl mewn perthynas i seiniad cywir gwahanol foddau y melawd. (Gwel esiamplau yn yr "Engreifftiau Hanesyddol" yn fy "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth.") Nis gellir ysgrifenu llawér o hen gerddoriaeth Ysgotland, Iwerddon, Cymru, a Lloegr, fel y mae yn cael ei chanu yn draddodiadol, ond trwy ddefnyddio y moddau hyn; a phan (fel gyda "Martyrs" yn Ysgotland, a "Bangor" yn Nghymru, a thonau tra adnabyddus ereill,) y mae cerddorion, gan geisio bod yn ddoethach na Bach a Handel (y rhai oeddent yn cydnabod y moddau hyn), wedi newid y melawd fel ag i'w wneyd yn gyfaddas i ofynion tybiedig cynghanedd diweddar, ac wedi argraffu y melodau cyfnewidiedig hyn, y canlyniad fu fod y bobl naill ai wedi peidio defnyddio y don, neu wedi parhau i'w chanu yn wahanol i fel y mae wedi ei hargraffu.

Mae y moddau yn cael eu galw ar wahanol enwau gan yr ysgrifenwyr Groegaidd, Lladinaidd, Indiaidd, a Chiniaidd ar gerddoriaeth. Bydd yn ddigon i ni eu galw ar enw y sain yn y raddfa, effaith feddyliol yr hon sydd yn rhedeg drwyddynt. Fel hyn y mae genym dri modd, gyda thrydydd mwyaf uwchben y brif sain neu Donydd,—tri modd mwyaf, sef *Doh*, *Fah*, a *Soh*, a thri modd lleiaf, sef *Lah*, *Ray*, *Me*. Am y modd *Te* gyda'i bumed lleiedig, anfynych y defnyddir ef. O'r moddau mwyaf, yr un ar *Doh* yw yr un a ddefnyddir yn mron yn hollol yn yr amseroedd diweddar, ac yn mysg y cenedloedd gorllewinol. Gelwid ef gynt y modd bydol—modd y ddawns a'r

gân,—yn hytrach nag fel yn meddu ar ddifrifoldeb eglwysig. Nid oes un modd yn dygymod a chynghanedd ddiweddar cystal. Allan o'r moddau Lleiaf y modd *Lah* sydd wedi dyfod yr unig un a ddefnyddir yn mysg cenedloedd Ewrop y dyddiau diweddar, mewn cysylltiad a chynghanedd. Ond nis gallesid ei gymhwyso at gynghanedd heb gyfnewidiadau, ac yr oedd y rhai hyn yn cyfnewid gymaint ar effaith bur yr hen fodd, fel yr ydym yn dewis galw y ffurf gyfnewidiol yn "gywair lleiaf diweddar," yn hytrach na'r "Modd *Lah*." Fe wna hanes y don "Dundee" neu "Windsor" egluro hyn. Yn ei ffurf gysefin, a hefyd fel y copiwyd hi gan Dr. Mainzer yn ei "Salm-donau Gaelaidd," y mae y don yn y modd *Ray*, ac wedi ei chlirio oddiwrth addurniadau Gaelaidd y mae fel hyn:—

: r | r : m | f : m | r : r | d || f | l : s | f : m | f |

: f | l : s | f : m | r : r | d || f | m : r | r : d | r ||

Gallesid ysgrifenu y melawd yma fel ag i ddechreu ar l yn lle r heb newid y cyfryngau. Ni fuasai'r melodedd yn penderfynu y "modd" y mae ynddo. Pan ddechreuodd cynghanedd ymyryd â'r don yr oedd eisieu "sain arweiniol" i'r r, ac fe newidiwyd y tair d mewn rhai copiau argraffedig i de, yr hon sydd yn gam bychan islaw r. Y mae y don yn ymddangos yn y ffurf yma yn "*Whole Book of Psalms*" Este, O.C. 1592. Ond yr oedd clust y lluaws mor wrthwynebus i'r fath gyfnewidiad yn y melawd, fel yn mhen deugain mlynedd yr oedd y don yn ymddangos yn Sallwyr John Knox gyda'r d gyntaf a'r ail heb eu newid, a'r olaf yn unig wedi ei newid i de. Yn ddiweddarach cafwyd y modd *Ray* gan gynghaneddwyr o herwydd rhesymau ereill (Gwel "Ymarferion Cyfosodiad," tudal. 90.) yn anffafriol i'w pwrpas, ac ysgrifenasant y don yn y modd *Lah*, gan newid y tri nod fel o'r blaen fel hyn:—

: l | l : t | d' : t | l : l | se || d' | m' : r' | d' : t | d' ||

: d' | m' : r' | d' : t | l : l | se || d' | t : l | l : se | l ||

Ond nid oedd cyfnewidiad y nodau yn y llyfrau o angenrheidrwydd yn newid seiniau canu y bobl, a pha le bynag nad yw llyfrau a pheirianau yn cael yr oruchafiaeth, gellir eto glywed hen ddiweddebau clir, cadarn, difrifol yr hen fodd melodaidd |l :l |s neu yn ei ffurf henach |l :s |l neu |r :d |r. Fel hyn yn ucheldiroedd Ysgotland y cenir y don eto. Hyd yn nod yn Lloegr, anfynych y defnyddir y dull diweddar o ysgrifenu y don, oddigerth lle y mae *organ* neu ryw beiriant arall i *orfodi* y lleisiau i ganu yn ol y llyfr. Fe deimlir gan bawb fod se yn dwyn i mewn ryw sain annaturiol ansefydlog, ac yn mawr newid holl ysbryd y don. Y mae y glust yn naturiol edrych ar se fel t newydd, ac yn teimlo yn hawdd taro t neu r' am fod ganddynt rywbeth i gyfateb iddynt yn y cyweirnod newydd tybiedig; ond y mae yn dyrysu gyda'r d' Gweler y daflen ar yr ymyl.) Felly, yn hanes y don, dygwyddodd peth hynod. Pan ddechreuodd cerddorion newid y melawd, darfu i'r bobl yn eglwysi Ysgotland, heb ryfygu gwrthwynebu hawliau cynghanedd, neu i sefyll yn erbyn arweinydd dysgedig cor, syrthio yn naturiol i'r arferiad o daro ryw sain arall *o'r un cord*, yr hon oedd yn *haws* na'r se ansicr, ac o ba un y gallasant yn haws godi at y d. Y canlyniad oedd ffurfiad ton newydd, "Coleshill," heb ymyryd a chynghaneddiadau "Dundee." Y mae yn darllen fel y canlyn:—

f' r'
m'
—d'
r' t
d' l
t se

:l |l :s |d' :s |l :l |m ||

:d' |m' :r' |d' :s |d' ||d' |m' :r' |d' :s

|l :l |m ||d' |s :l |r'.d' :t |l ||

**Y Modd Ray neu Doriaidd.**—Cyn dygiad cynghanedd diweddar i mewn, dyna'r modd a ddefnyddid yn benaf mewn addoliad. Gan daflu'r pwyslais ar y sain erfyniadol ddifrifol r, yr oedd yn *gref* a *hyderus* yn gystal a *difrifol*. Nis gall y *Lah* dyneriach gymeryd ei lle. Llawer llai y gall y cywair lleiaf diweddar, gyda'i deimlad o anedwyddwch anesmwyth. Mae y modd hwn yn cael ei hoffi yn fwy na'r modd *Lah* yn Nghymru, Gogledd a De, ac y mae tonau a argreffir mewn un modd yn cael eu canu yn y llall. Y mae yn hawdd canfod y gwahaniaeth, oblegyd (yn ychwanegol at y cwestiwn o sain arweiniol celfyddydol,) y mae y diweddeb mynegiadol d' t l yn y modd *Ray* yn dyfod yn s f m yn y modd *Lah*. Y mae fel trawsgyweiriad i'r cyweirnod lleddf cyntaf. (Gwel darluniad ar yr ymyl,) Bydded i'r dsgyblion ddesgrifio y cyfnewidiadau yn y melawd a fyddai yn angenrheidiol i roddi y don

l r
s d
t
f
m l
r s
d f
t m
l r

"Martyrs" yn y modd *Lah*. Bydded iddynt wneyd yr un modd gyda'r hen donau canlynol yn y modd *Ray*, gan eu canu yn y ddau fodd. Y cyntaf ydyw bwrdwn neu gydgan hen garol Nadolig "Nowell, nowell," yr hon a briodolir gan Mr. Chappell i'r flwyddyn O.C., 1460:—

:r |r :- :f |m :- :d |m :-.r :d.$t_1$
|$l_1$ :- :$l_1$ |d :- :d |r :- :r |m :- :m
|d :- :- |r :f :m |r :- :d |r :- ||

Y mae y nesaf, "Bangor," yn hen don yr Eglwys Brydeinig, fel y gellir ei chlywed yn eglwysi Cymru ac Ysgotland, pa bryd bynag y cenir hi heb lyfr nac offeryn:—

:r |f :m |r :l |$r^1$ :$d^1$.t |l ||
:l |l :$d^1$ .t |l :s |l |
:l |$r^1$ :$d^1$ |$r^1$ :$f^1$ |$r^1$ :$d^1$.t |l |
:l |$r^1$ :l .s |f :m |r |

Nid pynciau o chwilfrydedd neu hanesyddiaeth yn unig ydyw yr efrydiaethau hyn, oblegyd y mae y rhan fwyaf o boblogaeth y byd yn bresenol yn gwneyd defnydd o'r moddau amrywiol hyn wrth ganu. Dylai cenadon, o bawb, efrydu y pwnc yn dda. Mae

**Y Cywair Lleddf-Diweddar** yn seiliedig ar yr hen fodd *Lah*, wedi ei gyfaddasu at gynghanedd diweddar. Mae perthynas y seiniau a'u gilydd yn cael ei deimlo yn fwy cryf, pan seinir hwynt gyda'u gilydd mewn cynghanedd na phan y maent yn cael eu clywed yn unig yn olynol mewn melawd. Y mae cynghanedd, gan hyny, yn dwyn i mewn egwyddorion newyddion. Prif egwyddor cynghanedd diweddar ydyw yr un sydd yn dewis cord arbenig, a elwir cord y Tonydd, yn peri iddo ragfeddianu y glust, ac yna yn gwneyd i'r cord ar ei uwch-bumed, ei Lywydd, a'r un ar ei is-bumed, ei Is-lywydd, wasanaethu arno. Mae ystyr a defnydd yr enwau hyn wedi cael eu rhoi ar tudal. 22, 29, a 49, ac ar tudal. 51 y mae yr egwyddor hon o "gord-berthynas" yn cael ei dangos trwy y

*Cyf. Saf.* (*New.*)

diweddebau. Fe ddealla y rhan hyny sydd yn *gwrando* ar y diweddebau hyn, yn gystal ag edrych arnynt, beth a feddylir. Yn y modd cyffredin, clir, a dysglaer, *Doh*, yr oedd y cord-berthynas yn foddhaol a hyfryd. Yr oedd y ddau gord mwyaf cryf, S a F, y rhai oeddynt ddau bumed oddiwrth eu gilydd, yn caniatau ac yn cyflwyno rhagoriaeth i'r cord D, yr hwn oedd yn yn sefyll yn ogydbell rhyngddynt. Ymgais ydyw y cywair lleiaf diweddar i gael yr un cord-berthynas yn y modd *Lah*. Ond ni cheir mewn un modd arall, oddigerth yn y *Doh*, y Tonydd, y Llywydd, a'r Is-lywydd i gyd yn gordiau mwyaf; ac y mae y glust yn naturiol yn anghymeradwyo dau gord anghydseiniol lleiaf (gwel tudal. 49,) gyda'u gilydd, yn enwedig mewn diweddebau.

l, se, (s), f, m, r, d, t, l

**Se.**—Yn y modd *Lah*, y mae *L*, y Tonydd, *M*, y Llywydd, a *R*, yr Is-lywydd, i gyd yn meddu trydyddau lleiaf. Darfu i'r cynghaneddwyr cyntaf loni trydydd y tonydd *L*, gan wneyd y cord yn **l de m**, ac fe wneir hyn eto weithiau mewn cerddoriaeth araf; ond y trefniant mwaf boddhaol ydyw yr un sydd yn lloni trydydd y llywydd *M*, gan wneyd **m se t**, pa bryd bynag y mae ei eisieu fel llywydd. Weithiau, pa fodd bynag, defnyddir **s**, yn enwedig mewn brawddegau fyddo'n disgyn o ris i ris. Y mae **se** yn meddu yr un berthynas a'r l ag y mae y t a'r $d^1$.

l, se, (s), (ba), f, m, r, d, t, l

**Bah.**—Y mae defnyddio y **se** yn lle y **s** yn gwneyd bwlch anhyfryd mewn brawddegau fo'n symud o ris i ris ar y raddfa, rhwng **se** a **f**. O ganlyniad, yn y cyfryw frawddegau, y mae y cyfansoddwr yn fynych yn dwyn i mewn sain arall, yr hon a ddefnyddir yn lle y **f**. Y mae yn dal yr un berthynas i'r **se** ag y mae y **l** i'r **t**. Yr ydym yn ei galw yn *bah*, ac yn ei hysgrifenu yn **ba**. Y mae :l |se :ba yn swnio yn debyg i :$d^1$ |t :l ac y mae :m |ba :se |l yn swnio fel :s |l :t |$d^1$ Y mae, gan hyny, ddwy sain "ddewisiadol" yn y cywair lleiaf diweddar, un a ddygir i mewn er mwyn y gynghanedd, a'r llall er mwyn y melodedd. Ond nid yw *Bah*, pa fodd bynag, yn cael ei defnyddio mor fynych yn lle **f** ag y mae **se** yn lle **s**.

**Anhawsderau y Canwr.**—Y mae *Bah* wrth esgyn yn bur anhawdd ei chanu. Y mae iddi effaith galed, ac heb fod yn hyfryd mewn un modd. Y ffordd oreu i'w dysgu ydyw i'w hymarfer fel hyn:—

l
f—
m s
r f
m
d—
t r
l d
se t
ba l
f
m s
r f
m
d

:$m_s$ | l :t | $d^1$ l :— | :m | ba :se | l :— :$m_s$ | l :t || &c,

Ond y mae yn anhawdd hyd y nod fel hyn; er hyny rhaid gorchfygu anhawsderau. Nid yw yn un anhawsder i'r perdoneg, ac nid oes ond ychydig o gyfansoddwyr yn gofalu am y glust a'r meddwl dynol, ac felly y mae **ba** yn sain sydd yn cael ei defnyddio yn amlach nag y mae yn cael ei mwynhau. Y mae yr anhawsder a nodwyd eisoes o daro **$d^1$** ar ol **se** yn cael ei ychwanegu trwy ddygiad **ba** i mewn, oblegid y mae **ba** yn cadarnhau y *teimlad* o newidiad y cyweirnod. Y mae y teimlad hefyd yn ei wneyd yn anhawdd i daro **f** (yn enwedig ar naid), fel y canfyddir wrth y darlun ar yr ymyl, ac fel y teimlir gan bob canwr. Fe welir yn hawdd oddiwrth y darlun, ac fe deimlwyd yn aml gan yr athraw wrth ganu y fath adran a hon— :m | ba :se | l :t | $d^1$ :— y cân y dysgyblion **de$^1$** yn lle **$d^1$**, ac hyd yn nod wrth ganu y fath frawddeg a hon : m | ba : se | l :— | m :— fod y dysgyblion yn lle disgyn ar yr un sain oddiar ba un y cychwynasant, weithiau yn canu **de**, fel pe byddai yn **m** y cywair mwyaf, yr hwn a ddarlunir ar yr ymyl. Dylid myned trwy y fath ymarferiadau a'r rhai canlynol yn fynych oddiar y modulator, yn gyntaf eu *sol-ffeio*, ac wedi hyny eu *la-io*, gan feistroli **$d^1$** yn gyntaf, ac wedi hyny **$m^1$**, ac yna **$f^1$** :—

| l :se | ba :se | l :*$d^1$ || l :se | ba :se | *$d^1$ :— ||

| l :m | ba :se | *$d^1$ :— || l :se | l :*d | r :— || &c.

| m :ba .se | l :*m || l :se

| ba :se | l :— | *m :— || l .m :ba.se

| l .$d^1$ :*$m^1$ || l :m .ba | se :*$m^1$ || &c.

| l :se | $d^1$ :l | *$f^1$ :— || l :se | *$f^1$ :— | $m^1$ :— ||

| m :ba .se | l :*$f^1$ | $m^1$ :— ||

| l :se | *f :— | m :— ||

Ond ychydig o gyfansoddwyr sydd yn meddu gwybodaeth am y pethau i hyn. Y maent, gan hyny, weithiau yn dwyn i mewn seiniau sydd yn rhoi trafferth fawr i'r canwr heb ychwanegu dim yn y radd leiaf at brydferthwch y gerddoriaeth. Pan y mae cerddorion yn ysgrifenu ar gyfer cor cyflogedig chwareudy (y rhai na feiddiant ddyweyd fod dim yn anhawdd, llawer llai awgrymu ei fod yn annaturiol), nis gallwn synu at eu camgymeriad. Y mae hyd yn nod Handel weithiau wedi camgymeryd fel hyn, ac anaml y mae ei nodau i'r frawddeg "*thy people shall pass over, O Lord,*" yn cael eu canu yn gywir hyd yn nod gan Gor Gwyl Fawr Handel yn y Palas Gwydr. Fe wna y Tonic Sol-ffawyr, ar ol y rhybudd hwn, weled yr anhawsder hwn a'i feistroli. Dylai cyfansoddwyr diweddar, ar gyfer y llais, wybod am yr anhawsder, a phan nad yw yn ychwanegu at brydferthwch y gerddoriaeth, geisio ei osgoi.

**Yr Ymarferiadau.**—Gan fod y cywair lleiaf diweddar gymaint yn greadur cynghanedd, dylid ei efrydu yn gyntaf yn y fath ymarferiadau a'r chwech canlynol. Nid ydynt ond yr ymarferiadau blaenorol mewn seiniadaeth wedi eu troi i'r cywair lleddf diweddar.

Ym. 181. CY. E. *L* ydyw *C♯*. Cymharer Ym. 85.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| l | l :l | se :- | se | l :l | l :se | l :- |
| d | m :d | m :- | m | m :d | d :$t_1$ | d :- |
| $l_1$ | d :$l_1$ | m :- | m | d :$l_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :- |

Ym. 182. CY. B♭. *L* ydyw *G*. Cymharer Ym. 86.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| d | d :$t_1$ | d :- | d | $t_1$ :$l_1$ | $t_1$ :$t_1$ | d :- |
| $l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :- | $l_1$ | $se_1$ :$l_1$ | $l_1$ :$se_1$ | $l_1$ :- |
| $l_1$ | $l_1$ :$m_1$ | $l_1$ :- | $l_1$ | $m_1$ :$d_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :- |

Ym. 183. CY. B♭. *L* ydyw *G*. Cymharer Ym. 123.

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| m | d :f | m :- | m | d :f | $t_1$ :r | d :- |
| d | $l_1$ :r | d :- | $se_1$ | $l_1$ :$l_1$ | $se_1$ :$t_1$ | $l_1$ :- |
| $l_1$ | $l_1$ :$r_1$ | $l_1$ :- | $m_1$ | $l_1$ :$r_1$ | $m_1$ :$m_1$ | $l_1$ :- |

Ym. 184. cy. C. *L* ydyw *A*. Cymharer Ym. 124.

| d' (pause) | r' :t | se:- ‖ | l (pause) | f :r' | d' :t | l :- ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| l | f :f | m :- ‖ | m | f :l | l :se | l :- ‖ |
| l | r :r | m :- ‖ | d | r :f | m :m | l :- ‖ |

Ym. 185. cy. C. *L* ydyw *A*. Cymharer Ym. 125.

| d' (pause) | d' :r' | m' :- ‖ | m' (pause) | r' :d'.t | d' :t | l :- ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| l | l :l | se:- ‖ | l | se:l | l :se | l :- ‖ |
| l | l :f | m :- ‖ | d | $t_1$ :$l_1$ | m :m | l :- ‖ |

Ym. 186. cy. C. *L* ydyw *A*. Cymharer Ym. 126.

| d' (pause) | m' :r' | d' :- ‖ | r' (pause) | r' :d' | t :t | l :- ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| l | d' :t | l :- ‖ | l | se:l | l :se | l :- ‖ |
| l | l :m | f :- ‖ | f | m :l | r :m | l :- ‖ |

**Cord-berthynas yn y cord lleiaf diweddar.**—*L* ydyw Tonydd y modd lleiaf, fel y mae D i'r cywair mwyaf. O ganlyniad *M*, neu gyda'i drydydd llon cyffredin $^{se}M$, ydyw y llywydd, a *R* yr is-lywydd. Mae yr hyn a ddywedir am berthynas ac arferion D, S, a F, (tudal. 23, 28, 29,) yn gymhwysiadol hefyd bron yn yr un modd at *L*, $^{se}M$, a *R* yn y cywair lleiaf. Mae yr hyn a ddywedir am $^{7}$S (tudal. 49,) yn gymhwysiadol at $^{7se}M$, ac y mae arferion $^{7}$R (tudal. 50,) yn cael eu hefelychu mor bell ag y mae yn bosibl gan $^{7}T$, ac felly yn mlaen. Er cael manylion cywirach, gweler "Ymarferion Cyfosodiad," tudal. 90 a 101. Gelwir y cord M (tudal. 49,) yn Ganolydd yn y cywair mwyaf, ac y mae *D* yn cael ei alw yn Ganolydd yn y cywair lleiaf. Nid ydyw y *D* lleiaf (hyny yw y *D* yn y modd lleiaf,) yn cael ei arfer ond mor anfynych a'r M mwyaf. Gelwir y R yn Ar-ganolydd yn y cywair mwyaf, a'r *T* yn y cywair lleiaf. Y mae y "*T* lleiaf" a'r "$^{7}T$ lleiaf" yn cael eu defnyddio fel R a $^{7}$R (tudal. 49, 50). Gelwir L yn Is-ganolydd yn y cywair mwyaf, ac y mae *F* a *BA* yn ddau Is-ganolydd yn y cywair lleiaf. T ydyw cord y "sain arweiniol" yn y cywair mwyaf, a *SE* yn y cywair lleiaf. Nid oes un cord ar seithfed lleddf y cywair lleiaf (*S*) yn cael ei arfer mewn brawddegau yn y gwir gywair lleiaf. Fe sylwir sin bod yn ysgrifenu enwau y cordiau yn y modd lleiaf mewn prif-lythyrenau Italaidd, i'w gwahaniaethu oddiwrth yr un cordiau, pan yn cael eu dylanwadu gan arferion y modd mwyaf. Yr ydym i'r un pwrpas, pan *yn siarad* yn dyweyd "L leiaf," "T leiaf," &c. Dylai yr efrydydd gymharu y chwe threithgan uchod yn mhob ffordd gyda'u cymheiriaid mwyaf. Er mwyn gwneyd y gymhariaeth yn un y glust yn gystal a'r llygad, dylid *la-io* y ddwy yn dyner, a'r efrydydd yn edrych ar yr un yn y cywair mwyaf tra mae yr un yn y gywair lleiaf yn cael ei chanu, ac ar yr un yn y mwyaf tra mae yr un yn y lleiaf yn cael ei chanu.

Ym. 187. Enwer yr holl gordiau yn Ym. 181 hyd 186.

**Modd-newidiad.**—Ystyr cyntaf y gair Seisnig *modulation* ydoedd canu yn ol y modd. Yr ydym ni yn ei arfer yn awr am gyfnewidiad yn y modd, megys o'r D i'r modd *L*,—o'r mwyaf i'r lleiaf, neu o'r lleiaf i'r mwyaf. Y mae *tonau* yn y cywair mwyaf yn fynych yn dwyn i mewn ddiweddebau cyrhaeddgar yn y modd *Lah*, neu y "Lleiaf Perthynasol." (Gwel Ym. 194, mesur 23; 212, mesur 14). Ac y mae braidd yn anhebgorol mewn ton yn y cywair lleiaf fod rhyw ran fawr o honi i gael ei bywiogi trwy fodd-newidiad i'r mwyaf perthynasol. (Gweler Ym. 189, mesur 5; 192, mesur 4; 194, mesur 10). Ac hyd yn nod yn 188 a 194 y mae adranau bychain yn y cywair mwyaf, gyda f a s i'w wahaniaethu.

**Modd-newidiad Trawsgyweiriadol.**—Pan y mae y gerddoriaeth yn newid ei chyweirnod a'i modd yr un pryd, y mae rhai effeithiau pryd-ferth yn cael eu cynyrchu. Y cyfnewidiad mwyaf cyffredin o'r natur hwn ydyw un o'r modd mwyaf i leiaf perthynasol y cywair lleddf cyntaf. Y mae hyn yn roddi bod i "sain wahaniaethol" newydd, yr hon a alwn (yn ol y "dull anmhriodol" o nodiant) yn de. Y mae y bah yn cael ei defnyddio yn fynych o dan y ffurf cuddiedig o t. Mae yr adran :r | de :t, :de | r mewn gwirionedd yn :l | se :ba :se | l (Gwel Ym. 234, mesur 5.) Mae y modd trawsgyweiriadol hwn yn cael ei ddefnyddio yn fwy mynych mewn modd-newidiad Diweddebol na Mynedol. (Gwel Ym. 233, 245, a 236). Ymarferiadau Ychwanegol, tudal. 33, 3ydd cysodiad (*score*); tudal. 47, 4ydd cysodiad; tudal. 49, cysodiad 1af; tudal. 52, cysodiad 1af; tudal. 54, 2il, 3ydd, a'r 5ed gysodiad; tudal. 80, 4ydd cysod-

| | |
|---|---|
| d | f |
| t | m |
| l | r |
| se-de | |
| | d |
| ba- | t |

| | |
|---|---|
| s | d |
| | t |
| f | |
| m | l |
| re-se | |
| r | |
| | -ba |
| d | |

iad; tudal. 88, ail gysodiad; a tudal. 60, cysodiad 1af. Modd-newidiad trawsgyweiriadol arall, ond nid mor gyffredin, ydyw yr un o'r mwyaf i'r lleiaf yn y cywair llon cyntaf. Y mae hyn yn dwyn i fod sain wahaniaethol arall, yr hon a alwn yn **re**. Anfynych y defnyddir y **bah** yn yr amgylchiad hwn, ond fe'i gelwid mewn moddnewidiad mynedol (*passing*) yn **de**. Mae y modd-newidiad trawsgyweiriadol o'r symudiad cyntaf ar y modulator, o'r lleiaf i'r mwyaf yn fwy cyffredin. Gellir cael engreifftiau o symudiad i'r cywair lleddf cyntaf yn yr Ymarferiadau Ychwanegol, tudal. 60, 3ydd cysodiad; tudal. 69, y cysodiad 1af; tudal. 88, y 4ydd cysodiad; ac i'r cywair llon cyntaf yn yr Ym. Ych., tudal. 33, 3ydd cysodiad; tudal. 59, cysodiad 1af; tudal. 60, 4ydd gysodiad; tudal. 79, 3ydd cysodiad; tudal. 87, diwedd yr ail gysodiad; tudal. 96, cysodiad 1af.

**Seiniau Damweiniol.**—Mewn gwirionedd nid oes dim yn ddamweiniol mewn cerddoriaeth, ond y mae y gair hwn yn cael ei ddefnyddio yn fynych i arwyddo unrhyw sain sydd allan o'r raddfa gyffredin. Gwaith yr efrydydd fydd barnu a ydyw y seiniau hyn yn dynodi trawsgyweiriad *o'r* cyweirnod, ynte a ydynt yn arwain at effaith gromatig *yn* y cyweirnod, neu a ydynt yn unig yn seiniau byr-addurniadol ymdonol neu fynedol. Yr ydym, yn nodiant y Tonic Sol-ffa, yn dangos nod wedi ei loni trwy newid y llafariad i *ee* fel hyn **d**, *dee*, (ac a ysgrifenir er arbed lle yn **de**, ac a swnir fel *i* Gymraeg,) a nodyn wedi ei leddfu trwy newid ei lafariad i *au*, ac a seinir fel *au* yn y gair Seisnig *caught*, fel hyn:—**m** *mau*, **l** *lau*, **s** *sau*, **r** *rau*. Er arbed lle fe'u hysgrifenir yn **ma**, **la**, **sa**, **ra**, (ac fe swnir yr **a** fel yn y geiriau Seisnig *fall*, *tall*, &c.) Gwel Ym. 247.

**Seiniau Damweiniol Anghyffredin.**—Mewn amgylchiadau anghyffredin fel y rhai yn Ym. 247, y mae **l** wedi ei lloni yn cael ei defnyddio. Gelwir hi yn **le**. Anfynych y mae iddi berthynas gyweirnodol eglur ganfyddadwy, ond fe'i dygir i mewn i gynghaneddu fel trydydd i **de**. Yn yr un modd, ond mewn amgylchiadau pur anfynych, y mae **bah** yn cael ei lloni yn gyffredin er mwyn cynghaneddu gyda **le**. Y mae yn cael ei galw yn **be** (*bi*). Mewn rhai amgylchiadau mwy anfynych fyth y mae angen am loni **m a t**. Nis gellid yn briodol eu hysgrifenu fel **f a d**, oblegid gwnai hyny hwynt ychydig yn rhy uchel. Y mae lloniad pob sain yn dal perthynas bendant,—sef cam bychan,—â'r sain uwchlaw. Y mae ei pherthynas a'r sain sydd yn rhoi enw iddi yn amrywio ychydig yn ol fel y mae yn cael ei chymeryd oddiwrth gam bychan neu fawr o'r raddfa. Gellir galw **m** wedi ei loni yn **my** (*mei*), a **t** wedi ei loni yn **ty** (*tei*). Pe byddai angen mewn amgylchiadau tra anfynych am leddfiad **d a f**, gellid galw lleddf **d** yn **du** (diw), a lleddf **f** yn **fu** (ffiw). Gwel Arweiniad i'r Hen Nodiant, tudal. .

## FFARWEL, FY NGENEDIGOL WLAD.

Ym. 188. CY. B♭. *L* ydyw *G*. *Lled araf.*

ALAW "Merch y Bugail."
Y geiriau gan E. R. Efel.

| :$m_1$ | $l_1$ :- .$l_1$ | $t_1$ .d :r .$t_1$ | d :- .r | d :m | r :- .d | $t_1$ .d :r .$t_1$ |
|---|---|---|---|---|---|---|
| 1.Ffar - | wel fy | nghen - ed - | ig ol | wlad, Gyf - | eill - ion | hoff ffar - |
| :$m_1$ .$r_1$ | $d_1$ :- .$l_1$ | $se_1$.$l_1$ :$t_1$ .$se_1$ | $l_1$ :- .$t_1$ | $l_1$ :d | $t_1$ :- .$l_1$ | $se_1$.$l_1$ :$t_1$ .$se_1$ |
| 2.Ffar - | wel fy | holl berth - | 'nas - au | cu, Hen | dŷ fy | nhad ffar - |

| d :— | — :m | r :- .d | $t_1$ :r | d :- .$t_1$ | $l_1$ :d |
|---|---|---|---|---|---|
| wel, | I'r | holl gal - on | - au | cu di-frad, | 'Rwy'n |
| $l_1$ :— | — :$m_1$ | $f_1$ :- .$fe_1$ | $s_1$ :$t_1$ | $l_1$ :- .$se_1$ | $l_1$ :$m_1$ |
| wel, | Prudd | iawn yn wir | yw'm | cal - on i, | Wrth |




## MAE'N BYWYD AR ADENYDD CHWIM.

NODIAD.—Caner yn gadarn, gyda phwys cryf ac amlwg i fesur mwy neu lai ar bob ail guriad yn y mesur.

Ym. 189. CY. C. *L* ydyw *A*. M. 66. Y geiriau gan E. R. Efel.










## GAUAF A DDAETH.

Ym. 190. CY. B♭. *L* ydyw *G*. *Yn araf*. ALAW "*Fortune my foe.*"
Y geiriau gan E. R. Efel.




(*Cyf. Saf. New.*)

| l, :— | l, :-.t, | d :— | — :t,.t, | l, :m | r :d | t, :— | — :—
Chwib - an mae'r | gwynt Trwy | gang-au'r coed - ydd | llwm,
Pob cyf - aill | cu Yn y | bedd yn gor - wedd | sydd,
| l, :— | — :-.t, | d :— | — : | d :t, | — :l, | se, :— | — :—
| l, :— | — :-.t, | d :— | — : | l, :se, | — :l, | m, :— | — :—
| l, :— | — :-.t, | d :— | — : | m, :— | — :— | — :— | — :—
Hm. Hm.

| m :— | m :-.m | m :— | — :m.m | m :s | f :m | r :— | — :—
Nid oes flo- | deu'n, Pob ad- | er - yn di - angc | wnaeth;
Chwyth - ed y | gwynt, Daw'r | gwan-wyn ar ei | ol,
| t, :d | r :d | t, :— | — : | d :m | r :d | t :— | — :—
| se, :l, | t, :l, | se, :— | — : | s :— | — :— | — :— | — :—
| m, :— | — :— | — :— | — : | d, :— | t₂ :d, | s, :— | — :—
Hm. Hm.

| r .r :— | s :-.f | m :— | — :r .d | t, :l, | l, :se, | l, :— | — :—
Clywch si y | gwynt, Y | gau - af trwm a | ddaeth.
Ond ni ddych - wel | mwy Un | cyf - aill i fy | ngol.
| r :— | — :— | d :— | — : | se, :l, | m, :— | — :— | — :—
| t, :— | — :— | d :— | — : | m, :— | — :r, | d, :— | — :—
| s, :— | — :— | l, :— | — : | r, :d, | — :t₂ | l₂ :— | — :—
Hm. Hm.

## GAD I'M FYN'D.

Y geiriau gan E. R. Efel.

Ym. 191. CY. C. *L* ydyw *A*. M. 50. *Alaw Rwssiaidd.*

D.C.

| l :l | l .d' :t .l | se :se | se .t :l .se | l :l | l .d' :t .l | m' :se | l :—
1.Gad i'm | fyn'd, mae'r wawr yn | tor - i, Os wyt | i'm yn gyf - aill | cu;
r.Ni dreul- | ias - om nos - waith | eff - ro Yn yr | an - ial tyw - yll | du;
| d :d | d .m :r .d | t, :t, | t, .r :d .t | d :d | d .m :r .d | d :t, | d :—

| d' :d' | d' .m' :r' .d' | t :t | t .r' :d' .t | l :l | l .d' :t .l | m' :se | l :—
Ond es - | gyn - af fry yn | awr, Gad i'm | fyn'd cyn tor - iad | gwawr.
| m :m | m .s :f .m | r :r | r .f :m .r | d :d | d .m :r .d | d :t, | d :—

*Cyf. Saf. (New.)*

2 Gad i'm fyn'd, nis gallaf aros
Mewn ymdrechfa dwys fel hyn,
Gwelaf engyl am fy nghludo
Draw at Iesu ar Seion fryn;
Os wyt i mi'n hoffus ffrynd,
Paid a wylo, gad i'm fyn'd.

3 Gwelaf nefoedd wen yn agor
Draw i'm derbyn byth mewn hedd ;
P'le mae angeu? Angeu lyngcwyd,
Maeddwyd uffern fawr a'r bedd.
Dring i fynu yma'n wir
Os wyt am gael gwel'd yn glir.

## PAID, PAID LLWFRHAU.

ALAW "*We be soldiers three.*"

Ym. 192. CY. G. *L* ydyw *E*. Y geiriau gan E. R. Efel.




## DINYSTR SENNACHERIB.

Ym. 193. CY. F. *L* ydyw *D*. Y geiriau gan E. R.—Cyf. Y gerddoriaeth gan *A.L.C.*




(*Cyf. Saf. New.*)




## Y GAETHGLUD.

*A.L.C.*

Ym. 194. CY. A. *L* ydyw *F*♯. *Yn araf.* Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*

## GOFALA DDWEYD Y GWIR.

Ym. 195. cy. G. D.t. *Fuchs.*




**Treithganu.**—Fe ddysg y dysgybl yn awr ddatganiadau Ym. 177 ac 178, gan dalu sylw i'r cydseiniaid fel y dysgwyd yn y gris blaenorol.

Ym. 196. Caner ar eiriau Ym. 177 ac 178, gan ddysgu y gerddoriaeth allan gyntaf.

**Trefnu Datganiadau.**—Wrth ddysgu treithganu byddai yn dda i'r dysgybl roddi allan ddarn o Salm neu ryw ran o'r Ysgrythyr, i'w farcio yn llawn i gael ei dreithganu, gyda diwedd-farau, curiad-ranau, aceniad-farciau, a mynegiant-lythrenau. (Gwel tudalenau 37, 32, 64). Bydd cymharu y gwahanol gynlluniau hyn o flaen y dosbarth, yn y cyfarfod dilynol, yn ymarferiad rhagorol mewn chwaeth, ac yn efrydiaeth ddyddorol ar synwyr ac ystyr y geiriau. Heblaw hyny, dylai y Tonic Sol-ffaydd gymeryd trafferth i feistroli yr holl egwyddorion hyn mewn datganiad ymar-

*Cyf. Saf.* (*New.*)

ferol, oblegyd fe allai y bydd ryw ddiwrnod yn meddu y pleser a'r ddyledswydd o arwain cynulleidfa, ac yna, pa un bynag a ddefnyddia efe lyfr wedi ei farcio ar gyfer mynegiant, fel ein hymarferiadau ni, ai peidio, bydd yn ofynol iddo enill meistrolaeth ymarferol ar ein hegwyddorion, os na fydd yn foddlawn ar "faldordd" ddichwaeth a phechadurus yn lle treithganu.

Wrth ddechreu y fath ymarferiadau, y peth cyntaf ydyw tori ymath y diweddebau. Bydd yn naturiol iddo drefnu y rhai hyn fel ag i beri i'r aceniad cerddorol gytuno ag ystyr y geiriau. Nis gellir gwneyd hyn bob amser. Mae yr ymgais i'w wneyd mewn amgylchiadau anhawdd yn arwain y marciwr yn aml i roddi gormod o sillau yn nguriadau y diweddeb—ac felly, pan genir ef yn gyflym, fel y dylid canu diweddebau, y mae effaith ysgafn ddawnsiol yn cael ei chynyrchu; a phan y mae'r diweddeb yn cael ei ganu yn araf, y mae yn naturiol yn gwneyd y datganiad yn drwn a herciol. Mae yr arferiad o roddi *lluaws* o sillau yn nghuriadau y diweddeb yn gorfodi y datganydd i roddi *lluaws* o sillau i guriadau y datganiad. Y mae yn ddiau yn well, mor bell ag y caniata yr ystyr, i gadw ond un sill yn nghuriad y diweddeb. Cymharer:—" . *Yr* | *hwn* : *a os* | *tega* : *dwrf y* | *moroedd* : *twrf y* ‖ *tonau* : *a* | *therfysg* : *y* | *bobloedd*" a " . *Yr* | *hwn a os* : *tega* : *dwrf y* | *moroedd* : *twrf y* | *tonau* : . *a* ‖ *ther* :— | *fysg* : *y* | *bobloedd*." Gellir canu yr olaf yn gyflym, ond rhaid i'r llall fod yn araf ac eto yn herciol.

Wrth baratoi y datganiad, gwnaed yr efrydydd yn siwr yn gyntaf o'i ddechreuad a'i ddiwedd, oblegid y mae yn rhaid iddo gofio fod y dreithgan yn gymysg o areithio a chanu. Mae y datganiad yn araeth, y diweddeb yn gân. Y mae hyn yn gwneyd rhyw gymaint o gyfaddasiad yn angenrheidiol yn y manau hyny (o flaen ac ar ol y diweddeb) lle y mae areithio a chanu yn cydgyfarfod. Gan fod aceniad yn dyfod *yn nechreu* pob diweddeb, rhaid bod o'i *flaen* bob amser, naill ai guriad gwan, neu saib (neu arosiad,) am guriad a dybir yn ddiacen. Gan nas gallwn yn dda gael dau guriad cryf gyda'u gilydd, y mae yn annaturiol i wneyd unrhyw guriad ond un gwan rhwng y sain ddatganiadol â'r ddiweddeb. Fel hyn, os ydym yn teimlo yn y frawddeg Seisnig ganlynol yr angenrheidrwydd am bwysleisio y gair "*martyrs*" a "*praise*," ni ddylem ysgrifenu—" : . *The* | *noble* : *army of* | *martyrs* | *praise*," ond " : . *the* | *noble* : *army of* | *martyrs* : | *praise*," &c. Gan fod pob diweddeb yn *terfynu* gyda churiad gwan, y mae y meddwl yn naturiol yn dysgwyl i'r curiad cryf *ganlyn*, ac os na chaniata y geiriau hyny, rhaid i chwi roddi *saib*, i adael i'r aceniad fyned heibio, fel hyn " | *Thee* : — ‖ : . *The* | *holy* : *church* : *throughout* | *all*" neu yn well fel hyn " : . *the* : *holy* | *Church*."

Awgrym arall ydyw hwn. Y mae o bwys fod i'r efrydydd ddefnyddio amser-fesurydd pan yn datganu, onite fe gaiff ei hun yn amrywio ei gyflymdra, ac nis gellir gwneyd hyn gan gynulleidfa fawr. Y mae yn bur annaturiol i *redeg dros* guriadau y sain ddatganiadol ac *arafu* rhai y diweddeb. Dylent oll symud gyda'r un ysgogiad *cyflym*. Os treithganwch chwi yn araf bydd yn annichonadwy gwneyd y curiadau a arwyddocëir gan y dotiau.

Wrth efrydu y sain ddatganiadol yn mhellach, fe fydd yr hwn sydd am farcio yn ofalus yn cadw y mydr dau guriad fel yr un mwyaf cyffredin a hawdd, ond y mae yr araeth oreu yn cynwys amrywiaeth drefnus. Fel rheol gyffredin y mydrau gyda pha rai y mae brawddeg yn cael ei *ddyweyd* oreu ydyw y rhai y dylid eu canu wrth dreithganu. Ond nid *siarad* cyfrinachol ydyw treithganu, ond areithio cyhoeddus. Y mae areithio cyhoeddus yn gwahaniaethu oddiwrth siarad cyfrinachol yn hyn, fod y *curiadau* mewn areithio cyhoeddus o angenrheidrwydd yn fwy rheolaidd, fel ag i alluogi y llais i gario yn mhellach. Rhaid i'r efrydydd hefyd beidio anobeithio os caiff ei fod mewn rhai amgylchiadau yn waith pur anhawdd cysoni synwyr a mydr. Y mae rhyddiaith yn cael ei hysgrifenu fynychaf ar gyfer y darllenydd ac nid ar gyfer y llefarwr. Y mae arddull rhyddieithol dynion fel Bolingbroke, Brougham, Gladstone, neu Bright, yn bur wahanol i eiddo efrydydd neu gyfieithydd dysgedig, yr hwn nad yw ond yn anfynych yn siarad yn mhellach nag ar draws y bwrdd; ac y mae yn llawer mwy mydryddol. Nid pob un o gyfieithwyr y Beibl a efrydasant ffurf fydryddol eu brawddegau. Tra y cynghorir yr efrydydd fel hyn i arfer ei farn a'i chwaeth wrth benderfynu pa gynllun sydd yn cyfleu ystyr y geiriau, ac yn dwyn allan lais yr holl bobl oreu, dylai bob amser fod yn barod i uno yn galonog yn yr "arferiad" a gaiff fydd wedi ei sefydlu yn yr addoldy y bydd efe yn arfer ymgynull ynddo.

Rhoddir yr awgrymiadau canlynol i'r Dechreur Canu. *Yn gyntaf*, osgöer treithganau gyda seiniau datganiadol uchel, allan o gyrhaedd y lleisiau cyffredin. Nid yw datganiadau hirfaith ar sain

uchel ond gwichiadau anmhosibl i gynulleidfa. *Yn ail*, cadwer oddiwrth dreithganau gyda chyfryngau llydain yn y diweddeb. Nid yw y cyfryw ddiweddebau yn debyg i ddiweddebau naturiol llefarwyr cyhoeddus. Y maent o angenrheidrwydd yn araf a thrwm pan y mae cynulleidfa yn eu canu, ac y mae diweddeb "araf" yn gwneyd datganiad herciol.

**Mynegiant.**—Y mae cyfeiriad byr ac arwynebol wedi ei wneyd at y mater hwn ar tudal. 32. Gan fod y dysgybl yn awr wedi ei seilio yn dda yn athrawiaeth ac ymarferiad amser a seiniadaeth, y mae yn awr at ei ryddid i dalu sylw llawn i fynegiant. Mae y pwngc yn un o ddyddordeb deallol a chelfyddydol mawr, a dylai y llais a'r meddwl fyned o dan ddysgyblaeth dda mewn mynegiant. Prif elfenau mynegiant ydyw cyflymdra a nerth. Dangoswyd ar tudal. 30 pa fodd y mae cyflymdra ysgogiad yn effeithio ar effaith deimladol seiniau. Ni ddeallir pa fodd y mae gwahanol Raddau Nerth yn ddylanwadu ar fynegiant, hyd nes y byddo'r dysgybl wedi dysgu llywodraethu ei ganu ei hun yn yr ystyr hwn. Hyn ydyw un o'r dyfeisiau symlaf, hawddaf, effeithiolaf, a'r un a esgeulusir fwyaf mewn cerddoriaeth. Y mae cantorion cyffredin yn defnyddio rhyw lusgsain wan unffurfiol, neu ynte ryw floedd yr un mor unffurfiol. Nid ydynt erioed wedi amaethu *grym cymhedrol* y llais, ac nis gallant roddi y cryf a'r gwan hwnw mewn sain, yr hwn (fel y pellderau a'r goleuni gwahanol hwnw mewn darlun) sydd yn gosod y fath swyn yn y gerddoriaeth. Y peth cyntaf i'w sicrhau, a'r hyn sydd yn sylfaen y cwbl arall, ydyw tafliad allan pob sain yn dda, a hyny er mwyn *ansawdd ac eglurder yr ymdafliad.*

**Traddodiad neu Dafliad allan y Llais.**—Dylai yr efrydydd gofio wrth ganu nad yw yn canu i dop ei ben, neu waelod ei wddf, neu i'r tu fewn i'w safn, ond i wrandawyr o'i flaen, Dylai gyfeirio ei lais, gan hyny, tuag allan, mewn ffrwd cyson a rheolaidd, gan gadw ei ddanedd bob amser ar wahan, hyd yn nod pan y bydd yn rhaid iddo wneyd ei wefusau yn grwn. Trwy y moddion hyn fe osgöa grychleisio adarol, rhygniad basaidd, a mwmian gwag; a chynyrcha *sain glir gyfoethog*, heb ranau uchaf anghydseiniol.

**Tarawiad a Gollyngiad.**—Yn agos gysylltiol ag *ansawdd* dda ar y llais, ac yn anhebgorol er ei gynyrchu, y mae y tarawiad clir hwnw ar bob sain yr "ymosodiad da" hwnw a nodir gan M. Fetis, yr ysgytiad hwnw ar y beudag a ddesgrifir gan Garcia, y "cyffyrddiad" cadarn, ond ysgafn ac hydwythol hwnw y sonir am dano gan Mdme. Seiler, a'r hwn a ddylai ddyfod yn arferiad gan y canwr. Dylai pob sain gael agoriad pendant a hyderus, yn gystal a therfyniad eglur. Dylai fod fel swllt newydd. "Y mae pawb," medd Dr. Lowell Mason, "sydd wedi talu sylw i gynyrchiad seiniau gan offerynwr da, neu i'r dull y maent yn taro y glust pan y mae y 'tarawiad' yn cael ei wneyd (neu pan y maent yn cael eu dwyn allan gyntaf gan chwareuwr medrus), yn rhwym o fod wedi sylwi ar y rhagoriaeth yn eu tarawiad parod ac ynïol ar y rhai a glywir yn gyffredin wrth ganu. Yn wir, prin y gellir clywed canu corawl neu gydganawl heb fod y ffaith yn cael ei ddadlenu pa fedrusrwydd bynag a wnaed mewn darllen cerddoriaeth, o ran amser a sain, fod y defnydd priodol o'r peirianau lleisiol mewn cynaniad neu dafliad allan sain wedi ei esgeuluso yn druenus." Y mae pawb sydd wedi gwrando yn y Palas Gwydr, neu ryw le arall, ar gerddor celfydd yn canu gyda chor mawr, yn rhwym o fod wedi synu mor hawdd oedd clywed ei lais yn uwch na'r miloedd lleisiau diamaethedig. Yr oedd hyny i fesur mawr am fod yr un celfydd wedi ffurfio yr arferiad o wneyd tarawiad da, ac yn peri i'w lais gyrhaedd y glust yn fwy cyflym a gwirioneddol. Mae yr arferiad cynyddol mewn dosbarthiadau canu (ar ol i'r seiniau, a'r amser, a'r geiriau gael eu dysgu) o efrydu traddodiad a mynegiant, *gyda llyfrau cauedig*, o dan lywyddiaeth yr arweinydd a'i ffon, wedi gwneyd llawer yn y wlad hon yn ddiau i symud y diffyg hwn,—tarawiad drwg.

Y mae Mr. F. Kingsbury yn ei draethodyn synwyrol ar y llais yn dyweyd:—Pasier yr anadl mewn ffrwd fechan, gan adael iddo ddechreu yn *sydyn*, fel pe yn cael ei gynyrchu gan agoriad sydyn cauadyn neu dafod, ond heb un ymgais pellach. Dylid osgoi pob gorfodaeth annaturiol ar y llais, tra y dylid cymeryd gofal rhag gadael iddo *araf-ddiferu* allan. Trwy yr ymosodiad parod hwn, ar ol ychydig o brawfiadau, fe *deimla* y canwr yn wir gefn y gwddf a'r genau yn cael eu llenwi *ar yr un pryd* megys â chorff cyfanaidd. Teimlir gallu cyhyrol y parthau hyny yn ymaflyd ac yn dal gafael yn y swn. Dylai yr ymdeimlad hwn o gymeryd gafael yn y swn fod bob amser yn bresenol i'r canwr. Bydd trwy hyny yn ymwybodol o allu i lunio a ffurfio y sain yn ol ei ewyllys.

Bydd yr awgrymiadau hyn gan Mr. Ellis yn help i'r athraw i sylwi, ac i'r efrydydd i ddysgu y

ffordd briodol i wneyd y tarawiad neu yr ymosodiad. Nid oes dim ond yr hyn a eilw efe yn "darawiad clir," yn ffurfio gwir weithrediad y beudag, i gael ei arfer gan y cerddor. Y mae y pilenau lleisiol yn cael eu dwyn yn hyn i gydgyffyrddiad, yn union yn y foment pan y mae yr anadl yn cael ei ddwyn i weithredu arnynt. Yn y tarawiad "graddol" dygir y pilenau lleisiol at eu gilydd, *tra* y mae'r llais yn cael ei roddi allan, ac felly y mae y fynedfa *trwy* y sisial at y llais (oblegid nid ydyw sisial ond siarad heb y pilenau lleisiol,) i'w glywed yn anhyfryd. Gan fod yr ymosodiad hwn yn beth cyffredin mewn siarad, y mae o bwys i'w ochelyd wrth ganu. Y mae yn achosi yr hyn a elwir genym ni yn "anadledd." Yn "ataliad" y llais, y mae y pilenau lleisiol yn cael eu dwyn yn dỳn at eu gilydd *cyn* fod yr anadl yn dylanwadu arnynt, ac yn gael eu hysgaru gyda theimlad o glec yn y gwddf. Ni ddylid defnyddio hwn ond er mwyn cael *stacato* eithafol. Yn yr herc neu'r "jerc" y mae y tarawiad clir priodol yn cael ei wneyd gyda'r ychwanegiad o herciad sydyn ar y llais, yn cael ei gynyrchu trwy lengig y fron, neu y llawr cyhyrol ar ba un y mae yr ysgyfaint yn gorphwys. Gellir teimlo yr herc yma â'r llaw yn hawdd. Ffurf briodol yr ebychiad H i'r canwr ydyw,—hyny ydyw, H heb "anadledd." Ond dylid cymeryd gofal rhag gadael i *chwa* o wynt ddianc cyn i'r pilenau lleisiol gael eu dwyn yn ddigon agos at eu gilydd i wneyd y tarawiad clir. Yn y tarawiad "llithrol," (hyny yw y tarawiad ar ail lefariad, neu lefariad parhaol mewn llithren,) y mae *llacâd* syml yn ngollyngiad yr anadl rhwng y ddau lafariad. Ac nid oes dim sain hyglyw rhwng y llafariad, ac nid oes dim tarawiad clir yn cael ei glywed ar yr ail. Y gwahaniaeth rhwng y llithren a'r ymlithriad (tudal. 66,) ydyw hyn. Yn yr ymlithriad y mae y llais yn parhau gyda'r holl rym, tra y mae y peirianau yn pasio o un safle lleisiol i'r llall; ac yn y llithren y mae y llais yn parhau, ond gyda grym llawer llai. Y mae hyn yn wir yn gystal mewn cerddoriaeth, pan yr ydym yn pasio o un sain i un arall, ag mewn siarad pan, heb newid sain, yr ydym yn pasio o un safle lleisiol i un arall.

Dylai "gollyngiad" y llafariad trwy weithrediad clir y beudag, gan beidio adael ymylau carpiog megys i'r sain, gael ei ymarfer yn ofalus. Y mae yn cynyrchu effaith mor ddymunol a'r tarawiad clir ei hunan. Fe bar yr athraw i'w ddysgyblion *dreio* yr holl wahanol ffyrdd o wneyd tarawiad, ond peidio *ymarfer* ond y tarawiad clir. Bydd y gallu i adnabod cyflawniad *drwg* yn help i'r dysgybl i ddeall a mwynhau yr un sydd *dda*.

**Graddau mewn Nerth.**—Er mwyn rhoi i'w ddysgyblion lywodraeth ar eu lleisiau yn yr ystyr hwn, fe genfydd yr athraw y bydd ymarferiad pendant a mynych yn angenrheidiol. Gall ddwyn i sylw y graddau mewn nerth fel y canlyn:—

"Cenwch i mi sain ar y sill agored LAH, mewn uchder hawdd ar eich llais, yr hon na fydd na *chref* na *gwan*. . . Beth gawn ni ei galw os na fydd yn *gref* nac yn *wan?*" Canolog. "Ie, y mae yn cael ei galw yn ganolog neu, a defnyddio gair Eidalaidd (yr hwn sydd wedi ei ddwyn i mewn i bob iaith i'r pwrpas cerddorol hwn) yn sain *mezzo* (medzo) y llais. Gadewch i ni ysgrifenu *m* ar ganol y bwrdd du, am *mezzo*, a chwi allwch ganu â grym canolog eich llais pan y byddaf yn pwyntio ato. Bydded i bob un dreio penderfynu yn ei feddwl pa beth ydyw grym canolog ei lais, a dysgu ei gynyrchu pan y myno. Caner ef yn awr tra y byddaf fi yn pwyntio. . . Eto. . . &c."

"Caner yr un sain yn gryfach." . . Am y sain gref yr ydym yn defnyddio y gair *forte* (ffòrte) neu y lythyren *f*. Ni a ysgrifenwn *f* ar dde *m* ar y bwrdd du. . . Yn awr caner fel y byddaf fi yn pwyntio (*m. f. f. m.*, &c.)

"Caner yr un sain yn *wan*. Am y sain wan yr ydym yn defnyddio y gair Eidalaidd *piano* a'r lythyren *p*. Ni a ysgrifenwn *p* ar du chwith yr *m*, fel hyn:—

*p.* *m.* *f.*

"Yn awr caner grym 'canol,' 'gwan,' neu 'gryf,' (mezzo, piano, neu forte,) y llais, fel y byddaf fi yn pwyntio ar y naill neu'r llall o'r llythyrenau hyn." Mae yr athraw yn pwyntio weithiau yn araf, weithiau yn gyflym, weithiau mewn un drefn, weithiau mewn un arall, ac y mae y cantorion yn canu yn gyfatebol.

Ar ol cael allan y bras linelliad hwn o rym y llais, a llywodraeth wedi ei enill arno, gall yr athraw fyned yn mlaen i ddwyn allan yn yr un modd y graddau *eithafol* a *chyfryngol* mewn nerth, gan ddefnyddio y marciau *m.p.* (*mezzo-piano*) ac *m.f.* (*mezzo-forte*) am y graddau cyfryngol, ac *ff* (*fortissimo*) a *pp* (*pianissimo*) am y graddau eithafol cryf *iawn* a gwan *iawn*. Bydded i'r athraw ddangos trwy esiampl fod yn bosibl rhoddi sain uchel heb *wichian*.

Bydd y marciau canlynol yn awr ar y bwrdd du:—

*pp. p. mp. m. mf. f. ff.*

Bydd i'r athraw arfer ei ddysgyblion i basio o un rhan o'r raddfa hon mewn nerth i un arall. Y mae pasio yn *raddol* (nid yn herciol) o un pen o'r raddfa hon i un arall ac yn ol drachefn, yn un o'r pethau mwyaf anhawdd mewn cerddoriaeth. Rhaid i'r dysgybl gymeryd anadliad da cyn dechreu, a defnyddio ei anadl yn gynil. Mae yr ymarferiad hwn o'r pwys mwyaf.

Ym. 197.

| *f* | *f* | *f* | *f* | *p* | *p* | *p* | *p* | *f* | *p* | *f* | *p* | *p* | *f* | *p* | *f* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l ‖ |

Ym. 198.

| *p* | *p* | *p* | *f* | *f* | *f* | *p* | *p* | *f* | *f* | *f* | *p* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| \|l | :l | :l | \|l | :l | :l | \|l | :l | :l | \|l | :l | :l ‖ |

Ym. 199.

| *pp* | *p* | *f* | *ff* | *ff* | *f* | *p* | *pp* | *ff* | *f* | *p* | *pp* | *pp* | *pp* | *pp* | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| \|l | :l | \|l | :l | \|l | :— | \|— | :— | \|l | :l | \|l | :l | \|l | :l | \|l | : ‖ |

Ym. 200.

| *pp* | *p* | *mp* | *m* | *mf* | *f* | *ff* | *ff* | *ff* | *ff* | *f* | *m* | *m* | *mp* | *p* | *pp* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| \|l | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— ‖ |

Ym. 201.

| *ff* | *f* | *mf* | *m* | *mp* | *p* | *pp* | *pp* | *pp* | *pp* | *p* | *mp* | *m* | *mf* | *f* | *ff* | *ff* |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| \|l | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— | :— | \|— ‖ |

**Crescendo.**—Y mae sain hir neu seiniau olynol yn pasio yn raddol o'r *piano* neu'r *pianissimo* i'r *forte* neu'r *fortissimo*, yn cael ei galw yn sain neu frawddeg *crescendo* (yr hwn air a seinir crisiendo). Mae sain hir neu seiniau olynol yn pasio o'r *forte* neu *fortissimo* i'r *piano* neu'r *pianissimo* yn cael ei galw yn frawddeg neu sain *decresendo* (dîcrisiendo) neu *diminuendo* (diminiwendo). Mae y symudiad graddol o'r *pianissimo* i'r *fortissimo* ac yn ol i'r *pianissimo* yn cael ei alw yn *swell* neu chwyddiad.

Dangosir y *crescendo* fel hyn

Y *diminuendo* fel hyn

Y *swell* fel hyn

Am y dadblygiad hyd yma ar y pwnc o nerth mewn cerddoriaeth, mae y Golygydd yn ddyledus i Dr. Lowell Mason o America, yr hwn oedd y cyntaf i ddwyn allan yn yr iaith Seisnig yr egwyddor Pestalozziaidd o ddysgu canu, trwy ba un y darfu i Nazeli ac ereill greu chwyldroad cerddorol yn Germani. Gweler ei "Boston Academy Manual of Vocal Music."

*Cyf. Saf.* (*New.*)

**Seiniau Dirwasgol ac Ergydiol.**—Bydded i'r athraw, gan bwyntio ar y "raddfa nerth" fel uchod, beri i'w ddysgyblion ganu *crescendo cyflym iawn*. Y mae sain a roddir allan felly yn cael ei galw yn "sain ddirwasgol." Y mae yn cael ei dangos fel hyn (<). Yn yr un modd y mae *diminuendo* cyflym neu fuan yn cynyrchu sain ergydiol, yr hon a ddangosir fel hyn (>). Mae y dull hwn o roddi sain yn cael ei alw hefyd yn *sforzando*, ac yn cael ei farcio *sf.* Y mae uniad y ddwy ffordd olaf o roddi allan un sain fer yn cael ei ddangos fel hyn (V). Mae yr addurn cerddorol hwn yn bur brydferth, ond yn anhawdd ei gyflawni. Mae sain a roddir allan gyda nerth *cyfartal* o'r dechreu i'r diwedd yn cael ei alw yn "sain organol," a gellir ei ddangos fel hyn (=)

**Ym. 202.** CY. D.

| = d | < :r | > \|m | :f | > \|s | :l | = \|t | > :d' | ^ \|d' | ^ :t | ^ \|l | ^ :s | = \|f | :m | = \|r | = :d ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|

**Staccato a Seiniau Dadgysylltiol.**—Pan fwriedir i sain gael ei chanu ddim ond tua haner ei hyd priodol ac mewn dull *pendant* ond nid uchel, y mae hyny yn cael ei ddangos trwy farc bychan fel hyn (') uwch ben y nodyn. Gelwir y dull hwn o ganu yn *staccato* (stacâtô). Pan fwriedir i sain gael ei chanu tua thri chwarter ei hyd priodol y mae hyn yn cael ei ddangos trwy osod *dot* uwchben y nodyn. Gelwid y seiniau hyn yn "haner *staccato*" neu seiniau dadgysylltiol.

**Legato.**—Pan fwriedir i'r seiniau lithro yn araf ac esmwyth y naill i'r llall (a bod y radd o nerth gyda pha un y mae'y sain gyntaf yn *terfynu* yn ogymaint a'r sain gyda pha un y mae yr ail yn *dechreu*), y mae llithren ⌒, neu y gair *legato* (legâtô) yn cael ei ysgrifenu uwch ben y nodyn. Caner y nodau canlynol yn *staccato*, wedi hyny yn ddadgysylltiol ac yn ddiweddaf oll yn *legato*. Na wneler y *legato* yn drymaidd, ond yn esmwyth a phrydferth.

**Ym. 203.** CY. F.

| :s | \|s | :f | \|m | :r | \|d | :l | \|s ‖ |
|---|---|---|---|---|---|---|---|

**Defnyddiad Nerth.**—Y mae defnyddiad y gwahanol raddau o nerth at ystyr y geiriau yn cael ei gadw hyd y gris olaf. Ond fe ddylid efrydu yn awr, ddefnydd nerth y llais fel y mae yn cael ei awgrymu yn y gwahanol adrannau cerddorol a genir—ar wahan oddiwrth bob cyfnewidiad a awgrymir. Wrth gwrs, nis gellir esgeuluso y geiriau mewn unrhyw ris. Y mae eisioes rai awgrymiadau wedi cael eu rhoddi ar tu dal. 30, ac fe roddir ychwaneg gan yr athraw fel y daw at yr amgylchiadau yn y gwahanol donau a genir. Efrydiaeth *reolaidd* a threfnus mynegiant geiriol yn unig a oedir hyd y gris nesaf; mynegiant cerddorol yn unig a efrydir yn rheolaidd yn awr.

**"Ymarferiadau Ychwanegol."**—Ni a wnawn ddefnydd rhydd, o'r fan hon, o'r "Ymarferiadau ychwanegol" (Rhanau 1, 2, a 3), er mwyn eglurhau gwahanol byngciau mewn mynegiant cerddorol a geiriol, mewn Ffurf cerddorol, ac mewn Elfeniad Cynghanedd. Cymerwn ein hegluriadau yn benaf o'r rhifynau blaenaf, ond er mwyn cael yr Ymarferiadau bydd y tair rhifyn yn ofynol. Y mae o bwys mawr fod y dysgybl, mor bell ag y mae modd, nid yn unig yn gweled yr egluriadau, ond yn eu "clywed" hefyd. Pan nad all y dosbarth ganu y darn, dylai pedwar o bersonau ei ganu iddynt. Yr ydys wedi cymeryd poen nid yn unig i gymhwyso yr ymarferiadau hyn, at risiau cynyddol y llyfr hwn, a'u dethol o fysg y cyfansoddwyr goreu, ond hefyd i gael ynddynt gymaint o amrywiaeth ag y mae yn bosibl. Y mae yn beth pur gyffredin i ddosbarth ganu swm mawr o gerddoriaeth, heb mewn gwirionedd ddysgu dim, oblegid eu bod bob amser yn dysgu yr un math o gerddoriaeth. Ond y mae bob amser rywbeth newydd i'w ddysgu yn yr Ymarferiadau Ychwanegol hyn.

**Nerth rheolaidd.**—Y mae rhai darnau o gerddoriaeth, oherwydd eu nodwedd gwrol, yn amlwg yn gofyn canu cryf er dwyn allan eu heffaith priodol. Gweler "Duw fo'n blaid i'r gwir," tu dal. 1. "Dowch feibion dewr," tu dal. 13. "Byddwn gariadus a llawen," tu dal. 15, &c. Y mae ereill, trwy eu hysgogiadau tyner yn awgrymu canu gwan. "Gwrando fi," tu dal. 17. "Emyn Jackson," tu dal. 2. "Gobaith," tu dal. 12. "Nid oes un plentyn," tu dal. 21, &c. Wrth gwrs, fe fydd ystyr y geiriau yn fynych yn newid y defnyddiadau yma o nerth. Dylai y dysgybl geisio gosod yn ei feddwl, a chael llawn lywodraeth ar nerth canolog ei lais *ei hun*. Dylai yr athraw, yn mhob dosbarth, am beth amser, roddi allan sain, a gofyn i'r dysgyblion ei chanu gyda graddau gwahanol o nerth fel y bydd efe yn gofyn. Mezzo! piano! forte! piano! mezzo, &c.,—a'r athraw yn cymeryd gofal fod y gwahaniaeth rhwng y tair gradd yma o nerth yn cael ei farcio yn eglur. Yna fe ofyna yr athraw i'w ddysgyblion i benderfynu am lawer o donau, gan farnu oddiwrth eu harddull cerddorol, graddau eu hysgogiad, &c., pa un o'r tair gradd yma o nerth ddylai fod y nerth rheolaidd neu gyffredinol i'w roddi i'r darn.

**Brawddegau Piano.**—Y mae *piano* gwirioneddol yn cael ei ganu nid yn farwaidd, ond gydag egni. Y mae cadw brawddeg *piano* rhag gostwng mewn sain, a'i chanu gyda thônyddiaeth gywir, yn beth tra anhawdd. Y mae adleisiadau *(echoes)* yn gyff-

redin yn cael eu canu gan ychydig o leisiau detholedig mewn ystafell arall, ond er mwyn *ymarferiad mewn pianissimo* y mae yn well ar fod iddynt gael eu canu gan yr holl ddosbarth. Pan ellir cael gwir *pianissimo gan lawer o leisiau* yn ymdoddi i'w gilydd, y mae yn llawer rhagorach na *piano* gan ychydig. Gellir cael esiamplau o *piano* a *pianissimo*, er mwyn effaith cerddorol syml yn "Y Gwylwyr Cerddorol" pan yn cael ei ganu y waith olaf,—yn nynwarediad y "Gwcw" a "Rhegen yr yd," tu dal. 9 a 14,—yn nghyfnewidiad y mesur yn "Cilio mae cysgodion nos," tu dal. 29, a thrachefn yn nghyfnewidiad y mesur, tu dal. 31, &c.

**Brawddegau Forte** gyda llais clir iawn, a dylent fod yn rhydd oddiwrth swn yr anadl. Y mae y fath *forte* yn bur gyffrous i'r teimlad. Ond nid yw y *forte* bras, anghoeth, a gynyrchir gan ysgyfaint cryf a llais garw, yn gwneyd dim ond byddaru. Gellir cael egluriadau o hyn yn y dull o ganu, "Duw fo'n blaid i'r gwir," tu dal. 1. "Y Gwylwyr Cerddorol," tu dal. 8, pan y cenir ef y drydedd waith. Diwedd "Dowch feibion dewr," tu dal 13; diwedd "Gwrando fi," tu dal. 19; a llawer o ranau terfynol "Cilio mae," tu dal. 32, &c.

**Adraniad Melodaidd** ydyw y gelfyddyd o ranu melawd i'w ranau naturiol, a dangos trwy y dull o ganu, fod y canwr ei hunan yn gwahaniaethu y rhanau hyn, ac yn dymuno i'w wrandawyr eu gwahaniaethu hefyd. Y mae mor bwysig fod yr adránau hyn yn cael eu nodi yn eglur gan y canwr da, ag ydyw fod gwahanol ranau brawddeg, fel y nodir gan yr atalnodau, gael eu nodi gan y darllenydd da. Gellir gwneyd hyn trwy ganu un adran yn *piano*, un arall yn *mezzo* neu *forte*, ac i'r gwrthwyneb, trwy ddechreu adran yn *forte* a'i diweddu yn *piano* ac i'r gwrthwyneb, trwy ganu sain olaf adran yn *staccato* a byrhau sain gyntaf yr adran nesaf, fel ag i adael distawrwydd am foment o'i flaen, ac felly yn y blaen. Y mae y dewisiad priodol o anadlfanau yn effeithio yn arbenig i farcio allan yr adranau. Mewn rhai amgylchiadau bydd adraniad yr holl ranau yn cael ei wneyd yr un amser; mewn amgylchiadau ereill bydd gan bob "rhan" ei hadraniad gwahanol. Y mae adraniad "Duw fo'n blaid i'r gwir" (tu dal. 1) yn cael ei ddangos yn ddigon eglur gan linellau y geriau. Y mae yn hawdd ranu y llinellau hirion pa fodd bynag yn ddau, os bydd eisiau mwy o anadlfanau.

*Cyf Saf. (New.)*

Ym. **204.** Marcier yr adranau a'r anadlfanau, ar y dybiaeth nad oes dim geiriau i newid eich barn, yn "Duw fo'n blaid i'r gwir" (tu dal. 1) a chan fod y ddwy ddiweddran yn gyfansoddedig o'r un gerddoriaeth, marciwch fel y gwahaniaethech hwynt mewn mynegiant cerddorol.

Ym. **205.** Marcier "Emyn Jackson," tu dal 2, yn yr un modd.

Ym. **206.** Marcier "Y Gwylwyr Cerddorol," tu dal 8, yn yr un modd.

Ym. **207.** Marcier "Dowch feibion dewr," tu dal 13, yn yr un modd.

Ym. **208.** Marcier yr adranau a'r anadlfanau yn contralto a tenor "Y Gwanwyn," tu dal 3.

Ym. **209.** Marcier yn yr un modd, soprano a bass "Mis Mai," tu dal 5.

Ym. **110.** Marcier yn yr un modd, holl ranau "Dangosi i mi," tu dal 7.

**Brawddegau Esgynol.**—Dylai brawddegau sydd yn esgyn a'r hyd grisau y raddfa (neu fel arall), fel rheol gyffredin, gael eu canu yn *crescendo*. Dylai pob sain redeg i'r nesaf gyda nerth fyddo yn chwyddo yn rheolaidd. Yr ydys yn naturiol yn cyssylltu uchder sain â'r syniad o egni ac ysbryd. Y mae llawn nerth sain hefyd yn naturiol yn awgrymu yr un delweddau, ac (oddieithr pan y byddai yn myned ar draws ryw effaith bwysicach) fe ddylai, bob amser, fod yn gydfynedol âg esgyniad. Y mae natur *graddol* yr esgyniad hefyd yn tueddu i "osod allan" y camrau brasach o ran cyfryngau yn y rhanau ereill. Peth anhawdd ydyw gwneyd y *crescendo* yn *raddol*, pob sain yn rhedeg i'r nesaf, gydag ychwanegiad nerth, a heb hercian, ond yn ymchwyddol, a chan esgeuluso am y foment aceniadau cyffredin y mesur. Y mae yn gyffredin yn angenrheidiol i ddechreu yn *piano*, fel y gallo'r canwr gael anadl a nerth i'w hepgor at y diwedd. Byddai yr arwydd leiaf o flinder mewn *crescendo*, yn lladdiad hollol a thruenus ar ei effaith cerddorol. Gellir cael egluriadau efelychiadol yn agoriad y "Chwilio am Ffawd," tu dal. 4, lle y mae esgyniad o wythawd o $s_1$ i s; yn agoriad y "Gwylwyr Cerddorol," tu dal. 8, lle y mae esgyniad o bumed. Dylai *adranau esgynol efelychiadol* megis yn mhedwar mesur olaf "Cilio mae," tu dal. 32, gael eu canu gydag effaith *crescendo*; sylwer hefyd ar y bass esgynol. Gweler hefyd, Ym. 137 yn y "Gyfres Safonol." Fel rheol gyffredin dylai y fath frawddegau a'r rhai hyn gael eu dechreu fwy neu lai yn *piano*, er mwyn cael y *crescendo*. Am yr un rheswn y mae bob-

amser yn angenrheidiol i gymeryd anadl cyn dechreu y fath frawddeg. Dylai

**Brawddegau Disgynol** *yn gyffredin* gael eu canu yn *diminuendo*, oblegid y mae y syniad am ddistawrwydd a gorphwysiad bob amser yn gysylltiedig a disgyniad sain. Y mae *adranau disgynol efelychiadol* yn dilyn yr un rheol. Chwilier am esiamplau yn "Cartref," tu dal. 2, "Mis Mai" ar ben uchaf tu dal. 6. Ond pan y mae nodwedd y don, neu nodwedd y geiriau yn gofyn egni a nerth rhaid tori y rheol hon. Gweler "O deffro di," tu dal, 64, cysodiad cyntaf.

Pan y mae brawddeg esgynol mewn un "rhan" yn dyfod yn wrthgyferbyniol i frawddeg ddisgynol mewn un arall, a'r ddwy frawddeg yn cael eu rhoi allan yn iawn, y mae yr effaith yn dra phrydferth. Gwel "Rhegen yr yd," tu dal. 14, soprano a bass, "Mor weddaidd," tu dal. 60 (S. yn erbyn C., a'r T. neu'r S. neu'r C. yn erbyn T. a B.) dair gwaith mewn dau gysodiad ar y geiriau "genau a glywsant y gair." Fel rheol gyffredin y mae y fath frawddegau a'r rhai hyn yn rhai y dylid eu dechreu gyda mwy neu lai o *forte*, er mwyn cael y *diminuendo*.

**Seiniau Ailadroddedig.**—Y mae ail adrodd sain os oes ystyr iddo hefyd, wedi ei fwriadu i argraffu y sain hono ar y glust gydag yni ychwanegol. Er mwyn helpu yr amcan hwn dylai sain ailadroddedig gael ei rhoi allan yn *crescendo*, mewn rhan am fod y canwr fel hyn yn gwneyd ad-daliad i'r glust am y diffyg o amrywiaeth mewn cyfrwng, trwy amrywiaeth yn ngradd y nerth, ac mewn rhan am ei fod fel hyn yn "gosod allan" trwy wrthgyferbyniad, *symmudiad* y rhanau, fel ag y mae llinell y gorwel yn "gosod allan" ddarlun o dir, neu y graig lonydd, y mor cyffrous. Y mae y gallu cynyddol penderfynol yn dangos nad ydyw'r canwr wedi blino; ac y mae yn un o reolau celfyddyd i'r celfyddydwr beidio byth ag arddangos blinder a nychdod. Gweler esiamplau yn ail gysodiad "Cartref," tu dal. 2, ail gysodiad "Y Gwcw," tu dal. 9, a chysodiad cyntaf "O Geidwad," tu dal. 86. Dylai *adranau* a brawddegau ailadroddedig gael eu trin yn yr un modd a geiriau ailadroddedig. Gwel Cyfres Safonol, Ym. 113, priflais, mes. 3 a 4, a contralto, mes. 5 a 6. Ym. 115, mes. 11 a 12, ac "adran ailadroddedig," Ym. 120, pedwar mesur olaf.

**Seiniau Sengl Parhaol.**—Y mae unffurfiaeth difywyd yn annyoddefol mewn cerddoriaeth, ac o ganlyniad dylai pob sain gymeryd rhyw ffurf. Fe geir, trwy wneyd prawf, mai y ffurf fwyaf cyfaddas i ddal seiniau ydyw y chwydd, a dylai y chwydd fod yn llawn a chryf, yn hytrach na thyner a disylw. Mae y cyfansoddwr yn gyffredin yn bwriadu i'r rhanau ereill gael eu cuddio gan ddiluw o swn oddiwrth y seiniau parhaol. "Yr anhawsder mwyaf gyda'r ffurf yma ar sain," ebe Fétis, "ydyw cadw yr un faint o amser i ychwangu y nerth ag i'w leihau. Y mae gollyngiad allan y ffurf yma ar sain gan gor gyda'u gilydd, ar unwaith, ac yn gyfartal (nid yn herciol), yn beth anhawdd iawn i'w gyrhaeddyd. Nid oes dim ond ymarfer heb lyfr, ond gyda'r arwydd o'r dwylaw yn *graddol* ledu allan oddiwrth, a *graddol* ddynesu at, eu gilydd, a all helpu i gyrhaedd hyn. Gweler diwedd "Haleliwia Amen," tu dal. 28. "Cilio mae," mewn tri lle, tu dal. 29, 30. Pan y mae seiniau a fynychir yn rhedeg i sain barhaol, neu sain barhaol, yn tori i fynu i sain fynychol, dylid edrych ar y ddwy fel un, a pharhâu y *crescendo* trwy y sain barhaol a'r un fynychol. Gweler y bass yn niwedd y "Gwcw," tu dal. 10; "Llawenhawn," tu dal. 39, mewn dau le. "Dyma gân," tu dal. 68, trydydd cysodiad a thu dal. 70, ail gysodiad. Gweler hefyd Y Gyfres Safonol, Ym. 138.

**Efelychiadau Melodaidd.**—Pan y mae cyfansoddwr yn gwneyd un dosran neu ddiweddran mewn melawd i efelychu un arall, y mae yn bwriadu fod i'r canwr trwy ei ddull, alw sylw at yr efelychiad. Y ffordd oreu i wneyd hyn ydyw gwneyd gwrthgyferbyniad o ran nerth rhwng y ddau. Rhaid i'r naill fod yn fwy neu lai cryf, a'r llall yn wan. Rhaid i'r dysgyblion efrydu pob pwynt mewn ton er mwyn gwybod pa frawddegau fyddont yn gryf a pha rai yn wan. Yn "Emyn Jackson," tu dal. 2, y mae yr ail ddosran yn efelychu y cyntaf yn benaf yn ei fydr. Gan mai efelychiad "esgynol" ydyw, y mae yn naturiol iddo gael ei ganu yn gryfach na'r adran y mae yn ei efelychu. Yn y "Rhegen yr ŷd," tu dal. 14, mae y dosran yn dechreu "Gwel hi," yn efelychu y dosran cyntaf, ac y mae yn cael ei efelychu ei hunan gan y dosran sydd yn canlyn. Gan fod yr holl efelychiadau yn "esgynol" rhaid gwnyd y dosran cyntaf yn *piano*, er mwyn cael rhywbeth yn debyg i *forte* ar yr efelychiad olaf. Mae efelychiad esgynol tarawiadol iawn yn "Gwrando fi," tu dal. 18, cysodiad cyntaf. Y mae efelychiad disgynol, yr hwn a fyddai yn naturiol yn fwy tyner i'w gael yn "Yn Nes," tu dal. 35, yr ail gysodiad. Yn "Ple mae hyfryd," tu dal. 65, y mae genym

efelychiad disgynol mydryddol, yn paratoi, trwy ei *diminuendo*, at y dilyniad tarawiadol o efelychiadau esgynol sydd yn union yn dilyn. Gwel Cyfres Safonol, Ym. 113, 6ed cysodiad, ar "Rhowch fawl, rhowch fawl." Ym. 188, mesur 5 hyd 9. Ym. 233 ar "Fo'n cael," hyd "u di."

**Dyfodiad i Mewn Amlwg.**—Pan y mae pob rhan yn ei thro (fel mewn llawer o'r hen gerddoriaeth gysegredig, yr hen Fadrigal Seisnig, &c.), yn cymeryd *yr arweniad* mewn datgan (mewn dull canredol *(fugal)*, y prif destyn melodaidd, dylai y rhan hono gymeryd ei swydd ar y pryd gydag urddas, penderfyniad, ac eglurder mynegiadol. Dylai y rhanau ereill ar yr un pryd "gilio ymaith" a dal ei hunan fel yn iswasanaethgar. Y mae yn amlwg mai amcan y cyfansoddwr ydyw, ar fod i'r adranau hyn ddyfod i mewn i'r gerddoriaeth mewn modd amlwg, fel dyfodiad ryw ymwelydd enwog i mewn i'r ystafell, pryd y mae pob siarad yn darfod, a phob llygad ar waith. Efryder yr engreifftiau yn "Dangosi i mi," tu dal. 7, 8, yn yr hon y mae yr holl ranau yn distewi i wrando ar "Dangosi i mi;" "Bon Accord," tu dal. 11, pan y mae yr un peth yn cymeryd lle ar y geiriau "A thrwy dy," neu "Melusach." Y mae Dyfodiad i mewn amlwg yn fynych yr bur effeithol, pan nad oes dim efelychiad canredol, megis yn "Cartref," tu dal. 2, ail gysodiad. "Gwrando fi," tu dal. 18, 4ydd cysodiad, "Y Gwanwyn," tu dal. 3, 4. "Mis Mai," tu dal. 5 hyd 7. Gwel hefyd "Cyfres Safonol," Ym. 116, cysodiad 1 a 2; ac Ym. 133, cysodiad 1, 2, 6,—contralto, "Rhowch fawl."

**Iswasanaethiad y Rhanau.**—Fel yn ol y rheol o "ddyfodiad i mewn amlwg" y mae y rhanau ereill yn cael eu cadw yn iswasanaethgar i'r rhan sydd yn dyfod i mewn i'r gerddoriaeth, felly mewn lluaws o engreifftaiu ereill y mae yn rhaid cadw y distawrwydd hwn mewn llawer o ranau, er mwyn dangos allan y brif ran yn well, megis yn "Gwladys Ddedwydd," tu dal. 36, diwedd y cysodiad cyntaf; yn ystod rhan o'r don y mae y melawd yn cael ei roddi yn amlwg i'r soprano; ac y mae y contralto, tenor, a'r bass, yn canu cyfeiliant lled ddistaw, fel cyfeiliant tyner y perdoneg neu'r organ. Weithiau, megis yn "Daeth y gwanwyn teg," tu dal. 57, y mae fel hyn trwy yr holl don. Weithiau, megis yn "Iesu anadla," tu dal. 92, mae y prif felodau yn cael eu rhoi, weithiau i'r soprano a'r contralto, ac ar brydiau ereill i'r tenor a'r bass. Pan nad yw y cydgan ond cyfeiliant i'r melawd, dylai y gynghanedd gael ei rhoddi allan yn unol ag *ysbryd* llawen neu drist y melawd llywodraethol, a phob amser fel ag i beri fod y melawd hwnw yn eglur glywadwy. Y mae cyfeiliant dienaid yn peri diflasdod i'r gwrandawr. Dealler, pa fodd bynag, pan y mae y rhan y mae cyfeiliant iddi yn ddistaw, gall y cyfeiliant ei hunan siarad allan gyda mwy o rym, a mynu sylw y gwrandawr. Gwel "Gwladys Ddedwydd," tu dal. 35.

*Cyf. Saf. (New.)*

**Cyfeiliant Mudleisiol** (humming).—Gellir cynyrchu cyfeiliant mudleisiol mewn llawer o ffyrdd. Yn gyntaf trwy dynhau a dirgrynu y gwefusau, heb unrhyw lais o'r larynx, y gwefusau yn dirgrynu i gyd o gwmpas, ac nid ar un tu. Ni ddylid gwneyd hyn ond pan y mae eisiau math o effaith corsenaidd, sibrydol *(reedy, buzzing)*. Yn ail trwy lais tyner o'r larynx, yn adsain yn y trwyn, a'r gwefusau yn gauad. Yn yr amgylchiad hwn rhaid i'r canwr ofalu peidio tynhau cyhyrau y trwyn fel ag i gynyrchu sain o natur trwynol. Dylid cymeryd gofal hefyd i ddyogelu cyd-darawiad manwl ar y seiniau fel ag i ddynwared effaith peirianau llinynol neu gorsenaidd. Gwel "Taenodd nos," tu dal. 22, ac "Angel Gobaith," tu dal. 48. Yn yr engreifftiau hyn dylid mabwysiadu y trydydd dull. Gweler hefyd y "Cyfres Saf." Ym. 190.

**Seiniau Dynwaredol.**—Pan ddymunir dynwared murmur y dwr, sïad yn gwynt, neu swn y tabwrdd neu'r corn, nis gall y sillau a ysgrifenir o dan y nodau fod yn ddigon o arweiniad i'r canwr; rhaid iddo ymdrechu dynwared y seiniau a fwriedir, heb ofalu seinio y sillau nad ydynt ond yn eu dynwared yn anmherffaith. Y mae effaith agosrwydd neu bellder yn cael ei drosglwyddo trwy gryfder neu wendid y sain. Fel hyn pan y mae y gwylwyr cerddorol, tu dal. 8, yn cael eu tybied fel yn bell, y maent yn canu yn wan ac fel y maent yn dynesu y mae y canu yn swnio yn gryfach, ac fel y maent yn ymbellhau drachefn y mae y gerddoriaeth yn darfod yn y pellder. Mae yr un sylw yn gymhwysiadol at sain y tabwrdd, neu unrbyw beirianau fyddont yn cerdded yn mlaen. Yn yr un modd gellir dynwared swn clychau pell, fyddo yn cael ei gario gan y gwynt. Gwel "Pwy ddaw i rodio," tu dal. 24, 25. Wrth ddynwared chwerthin, dylem gofio ei fod yn meddu dau nodwedd; y mae naill ai yn ysgafn a didaro, neu yn drwm a hyf. Gellir canu y fath frawddeg a "Chwilio am Ffawd," tu dal. 5, yn y naill ffordd neu'r llall yn ol yspryd y penill; os yn y dull olaf, fe wrthwyneba, ond yn deilwng, *ddiminuendo* naturiol brawddeg ddisgynol.

**Ym. 211.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i'r melawd yn "Mis Mai," o ddiwedd, tu dal. 5, hyd linell gyntaf, tu dal. 6?

**Ym. 212.** Pa fynegiant cerddorol a roddech yn "Duw fo'n blaid i'r gwir," tu dal. 1, i'r melawd yn y rhan gyntaf o'r trydydd cysodiad,—i'r priflais a'r bass yn rhan gyntaf y 4ydd cysodiad,—i'r tenor a'r bass yn y 3ydd cysodiad,—ac i ba ran o'r darn hwn y mae y rheol o iswasanaethiad y rhanau yn gymhwysiadol?

**Ym. 213.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i "Llawenhawn," tu dal. 41, diwedd yr ail, a dechreu rhan gyntaf y 3ydd cysodiad,—hefyd i soprano a contralto yr ail gysodiad,—hefyd i tenor a bass, tu dal. 40, rhan gyntaf yr ail gysodiad a hefyd tenor a bass dechreu ail ran yr ail gysodiad, yn diweddu yn nechreu, tu dal. 41?

**Ym. 214.** Pa fynegiant cerddorol a roddech yn "Rhuo mae yr Ystorm," tu dal. 95, i briflais y cydgan, yr ail a'r 3ydd cysodiad.

**Ym. 215.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i'r prif lais yn llinell gyntaf "Fy enaid," tu dal. 34, ac i briflais y llinell gyntaf yn "Pe cawswn i," tu dal. 45?

**Ym. 216.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i'r tenor a'r bass yn yr wyth mesur cyntaf o "Iesu, anadla," tu dal. 91?

**Ym. 217.** Pa fynegiant a roddech i'r gerddoriaeth yn "Gwrando fi," tu dal. 19, ail gysodiad, lle y mae pob un o'r rhanau yn eu tro yn adrodd y geiriau "Canys ti," ac i'r cysodiad cyntaf a'r ail ar tu dal. 26; ac i'r 3ydd a'r 4ydd cysodiad yn "Cilio," tu dal. 31, ac i'r 3ydd a'r 4ydd cysodiad ar tu dal. 30; ac i dri chysodiad cyntaf "Yn mlaen," ar tu dal. 20?

**Ym. 218.** Pa fodd y dylid canu y cyfeiliant yn "Cartref," tu dal. 76?

**Ym. 219.** Pa fynegiant a roddech i'r gerddoriaeth yn yr holl bedair rhan o "Mor weddaidd," tu dal. 61, cysodiad 3 a 4?

**Ym. 220.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i'r Ymarferiad 170, yn y gyfres Safonol, cysodiad cyntaf y ddwy ran; Ym. 170, ail gysodiad, y ddwy ran; Ym. 171, Amenau yn y briflais, Haleliwiadau, yn y contralto; Ym. 194, y briflais yn y mesurau 9 a 10, ac 11 a 12; Ym. 145, yr wyth mesur olaf; Ym. 193, y dosran cyntaf, yr un yn yr ail ddosran; Ym. 190, y dosran cyntaf a'r ail.

**Ym. 221.** Pa fynegiant cerddorol a roddech i Ym. 136, y priflais, cysodiad 1; Ym. 195, cysodiad cyntaf a'r trydydd; Ym. 195, contralto, y 4ydd mesur o *lah* i'r 3ydd *me*; Ym. 146, contralto, haner yr ail a'r oll o'r trydydd cysodiad?

**Seiniau Cydweddol.**—Gan fod pob ton yn meddu ei nodwedd arbenig ei hun (hyf a gwrol, llon, athrawiaethol, dwys, &c.), y mae yn naturiol i'r solffäydd roddi y grym egluraf i'r seiniau hyny o'r raddfa sydd yn fwyaf cyfaddas i brif deimlad y darn, neu sydd yn "cydweddu" â'r syniad ynddo. Fel hyn, mewn ton gyflym a chyffrous, fe bwysleisiai yn naturiol y SOH *udgorn-seiniol*, y RAY *gyffrous*, y DOH *cadarn*, &c.; mewn ton araf a dwys y LAH *wylofus*, y FAH *frawychus*, &c.; Gyda'r syniad hwn yn meddyliau canwyr, daw y don ar unwaith yn beth newydd. Buan y cenfydd y dysgyblion eu bod yn meddu y gallu i wneyd yr effaith arbenig hwn neu arall yn amlwg yn y gynghanedd gyffredinol, yn mron yn ol graddau uchder y sain sydd yn cynyrchu yr effaith yn eu llais hwy. Fel hyn bydd sain uchel yn y tenor yn *dyweyd* yn fwy effeithiol nag un isel· Bydd sain contralto uchel hefyd yn mynu sylw, am fod yni ac ysbryd yn cael ei ragdybied yn mhob ymgais yn y llais i godi uwchlaw ei gwmpas cyffredin, ac y mae y seiniau mwyaf hydreiddiol yn haws eu clywed. Y mae seiniau *isel* (yn y contralto a'r bass) yn dynodi yni a nerth, ac y maent yn alluog i wneyd effaith dda, yn enwedig pan y mae y gynghanedd yn "wasgaredig," a phan nad oes un sain arall yn gorwedd yn agos. Yn mae gan rai cyfansoddwyr fedr mawr i osod seiniau cydweddol y gerddoriaeth i'r rhestr hono, yn mhob llais, lle y mae yn fwyaf dynodol a mwyaf prydferth.

Pob sain uchel, neu unrhyw sain isel mewn sefyllfa ffafriol sydd *heb* fod yn gydweddol a'r effaith cyffredinol, fe'i cenir gan hyny gan y canwr deallus mor ysgafn ag sydd modd. Ar y llaw arall pan y mae y seiniau cydweddol yn digwydd mewn lleoedd ffafriol, ni chaniata iddynt golli eu heffaith. Fe wyr pob canwr, gyda'r egwyddorion hyn i'w arwain, pa le y mae nerth ei "ran" yn gorwedd, a pha le y gall gyfrann ei ran tuag at y gynghanedd gyffredinol. Bydd Salm-donau o arddull "athrawiaethol ac amrywiol" yn cael eu trin yn dra gwahanol, yn ol natur y geiriau a genir. Pe byddem yn canu "Chwilio am Ffawd" (tu dal. 4), ni a sylwem ei bod yn don fywiog a chwarëus iawn wedi ei bwriadu i gael ei chanu mewn dull ysgafn *staccato*—o ganlyniad y byddai seiniau teimladwy y raddfa, y rhai a roddid allan yn gyflym, yn cynyrchu effaith fyddo yn gydweddol a nodwedd

cyffredinol y gerddoriaeth. Fe ga'i y lleisiau soprano gyfleusdra i ddwyn allan seiniau cydweddol gyda nerth ergydiol ar r gyntaf eu rhan, a'r ail l a'r drydedd f. Er mwyn gwneyd gwrthgyferbyniad i'r rhai hyn, ac i roddi grym i'r llawenydd, dylai y s gyntaf a'r ail d[l] gael eu rhoi allan yn yr un modd. Gan fod y l yn y ran uchel o'r llais, dylid ei tharo yn fywiog, a dylai effaith fywiog y f yn erbyn y t a'r s islaw gael ei dwyn allan gydag aceniad pendant. Nid oes gan y lleisiau contralto ddim neillduol iawn hyd y ddwy sain fyddont yn ymdori allan o dan l a d[l] y soprano. Y mae grym mwyaf y tenor yn gorwedd yn nharawiad y t o dan f y soprano, a phwynt goreu y bass ydyw s yn un cord. Y mae "Iesu Mrenin" (tu dal. 33) yn naturiol yn don lawen, yn newid i ddull myfyrgar yn y dosran olaf. Fe genfydd y lleisiau soprano gan hyny, y seiniau cydweddol yn y s ddisglaer gyntaf, yn y t gyffrous, ar d[l] fuddugoliaethus; er dangos y cyfnewidiad yn nodwedd y don, gall y f gael ei rhoddi allan yn dda. Y mae gan y lleisiau contralto se dda, yn y rhan lawn hono o'u lleisiau sydd yn eu gwahaniaethu oreu oddwrth y lleisiau ereill; gallant helpu y cyffro yn nechreu yr ail gysodiad trwy roddi allan eu s, yr hwn sydd yn rhan uchaf eu llais, yn glir ac ysgafn. Gall y lleisiau tenor osod eu nod ar y don hon trwy daro y s yn fywiog yn y cord cyntaf; mae eu l yn nechreu y dosran olaf hefyd mewn rhan arbenig o'u llais. Mae gan y lleisiau bass effaith ragorol mewn rhan lawn o'u llais yn y diweddeb cyntaf, a gallant ddefnyddio rhan uchaf eu llais yn dda yn yr ail ddiweddeb, lle y dylid taro l, er mwyn cynnyrchu effaith lawen, mewn dull swta; bydd y f dilynol yn cael ei marcio yn dda yn naturiol. Ond os rhaid canu y don hon mewn dull dwys a galarus i gydweddu â'r geiriau—y mae pob peth yn newid—rhaid i bob llais wneyd ymgais i ddwyn allan f a l pa le bynag y gwnant eu hymddangosiad ac i leihau grym y seiniau mwy bywiog. Yn "Pwy a ddaw i rodio" (tu dal. 24, 25), mae y geiriau "y gog a gân" fel math o gyfeiliant tyner mewn dwy ran. Ond o'r ddwy ran y mwyaf clir ydyw yn gyntaf y tenor, wedi hyny y bass—oblegid y mae y seiniau wedi cael eu taflu trwy drawsgyweiriad i ranau uchaf y lleisiau, ac o'r ddwy ran dyner, rhaid i'r rhai hyn bob amser gael y flaenoriaeth. Gweler hefyd y *me* a'r *fah* cydweddol mewn ton sydd yn dynodi ar unwaith ddifrifwch a thawelwch, yn y Gyfres Safonol, Ym. 136; y seiniau cydweddol *doh, me, soh* mewn ton fawreddog, Ym. 137, a'r *lah* a'r *fah* cydweddol mewn ton sydd yn dynodi teimladau tyner, Ym. 140.

*Cyf Saf. (New.)*

Ym. **222.** Desgrifier nodweddiad cyffredin y don "Jackson," tu dal. 2, a'i seiniau cydweddol; enwer y seiniau cydweddol hyny yn mbob "rhan" sydd yn gorwedd yn y lleoedd mwyaf nodweddiadol, neu yn y rhan uchaf neu fwyaf penodol yn mhob llais.

Ym. **223.** Desgrifier "Y Gwylwyr Cerddorol," tu dal. 8, yr un modd.

Ym. **224.** "Fy enaid," tu dal. 34, yr un modd.

Ym. **225.** "Yn nes at Dduw," tu dal. 34, yr un modd.

**Brawddegau Cyflym.**—Ni wnai y cyfansoddwr byth roddi darn cyflym neu ganred i'r canwr pe buasai yn meddwl i'r nodau gael eu maeddu a'u dyfetha, a'u rhedeg i'w gilydd fel ag i fod yn ddim amgen na sain anmhenodol ac anhyfryd. Y mae yn bwriadu iddynt sefyll gymaint ar wahan, ac mor unedig "a pherlau ar wddflinyn yn gorwedd ar wisg du tywyll." Rhaid i'r cantorion roddi iddynt y cynaniad egluraf, a rhaid fod perffaith unfrydedd mewn tarawiad. Er mwyn cynyrchu yr effaith yma dylai y dysgybl bob amser gymeryd anadl ar ddechreu canred hir, a'i gynilo yn ofalus fel na byddo dim tebyg i flinder yn y diwedd. Mewn rhai cydganau bydd yn angenrheidiol i gymeryd anadl yn ddirgelaidd yn nghanol y ganred. Gellir cael esiamplau yn "Dangosi i mi," tu dal. 7, ar ail sill y gair llawenydd. Bydd dadganiad manwl y TA-effe gydag unfrydedd yn y tarawiad, yn gwneyd y ganred yma yn brydferth a disglaer. Yn "Yn mlaen yr awn," tu dal. 20, ceir canredau fyddant yn gofyn rhagfeddwl gofalus er gallu trin y llais. Yn "Haleliwia" (tu dal. 27), bydd dadganiad unfrydol a pherffaith y TA-effe, TA-teffe, tafa-TE yn ofynol. Yn "Cilio mae" (tu dal. 32), anaml iawn y byddwn yn clywed y geiriau "sydd yn deffro yn awr" yn cael eu canu gydag eglurder perlaidd; y mae yn fwy tebyg i ruthriad traed afreolaidd i fynu y grisiau. Dylid amaethu canredau Handel gyda gofal mawr, fel ymarferiadau mewn ystwythedd. Gweler hefyd frawddegau cyflym yn y Gyfres Safonol, Ym. 102, 120, 174, a 147.

**Ffurf Seiniau Sengl.**—Y mae y sain ergydiol yn naturiol yn dynodi egni a theimlad penderfynol. Gweler tu dal. 12, 39, 42, 45, 57, o'r Gyfres Safonol, Ym. 141.

Pan y mae cyfansoddwr yn newid yr aceniad trwy ragaceniad am foment, y mae yn dymuno i'r rhagaceniad gael ei ganfod gan y gwrandawr. Rhaid i'r canwr gan hyny roddi y sain ergydiol iddo. Y mae rhagaceniad yn gyffredin yn dangos gallu anesmwyth, neu ddymuniad diamynedd.

Gwel tu dal. 87, y pedwerydd cysodiad. Gweler hefyd "Mae'r Nos," tu dal. 81, am engraifft o seiniau ergydiol piano, yn s y tenor, diwedd y cysodiad cyntaf; d y contralto, gyda r soprano, yn nechreu yr ail gysodiad. Gweler hefyd y Gyfres Safonol, Ym. 114.

Mae y sain ddirwasgol yn naturiol yn awgrymu teimlad dwyseiddiol. Mewn unrhyw fesur tri churiad teimladwy, y mae taro yr ail guriad gyda'r sain yma, yn cynyrchu effaith brydferth iawn. Gweler "Emyn Jackson," tu dal. 3; sylwer hefyd ar "Y Coedydd," tu dal. 72, yr ail gysodiad. Gweler hefyd y Gyfres Safonol, Ym. 139, ac Ym. 140.

Y mae seiniau dirwasgol ar guriad gwan, gan chwyddo i seiniau ergydiol ar y curiad cryf nesaf, yn fynych yn dra effeithiol. Fe'i defnyddid gan ganwr unawd yn fynych yn reddfol mewn Salmdonau araf-symudol, ar guriad olaf mesur yn symyd i'r aceniad nesaf. Gweler tu dal. 57, 3ydd cysodiad, a thu dal. 17, y cysodiad olaf. Gweler hefyd y Gyfres Safonol, Ym. 193.

Y mae yr arddull *legato* o ganu yn ddullweddiad o'r sain ddirwasgol. Y mae yn rhoddi effaith lefn lithriadol i'r seiniau, ac yn lleihau y gwahaniaeth rhwng yr aceniadau. Gweler tu dal. 63, y 3ydd a'r 4ydd cysodiad, 1af a'r ail.

Y mae yr arddull *staccato* o ganu yn dullweddiad o'r sain ergydiol. Y mae yn rhoddi effaith frysiog ymwthiol i'r seiniau, ac o angenrheidrwydd yn lleihau i raddau helaeth y gwhaniaeth rhwng yr aceniadau. Gweler y tenor a'r bass, tu dal. 40, a thu dal 42, y cysodiad cyntaf a'r ail. Gweler hefyd frawddeg piano-stacato, yn dilyn yn uniongyrchol frawddeg legato ar tu dal. 82, 3ydd cysodiad.

**Brawddegau Unseiniol.**—Dylai brawddegau yn y rhai y mae y pedair rhan yn taro naill ar yr un seiniau neu eu hwythodau gyda'u gilydd, gael eu canu gyda gofal mawr, fel ag i gynyrchu cydgordeddiad perffaith a chlir rhwng y lleisiau. Dylai y lleisiau deimlo dros eu gilydd, ond nid yn ofnus, oblegid y mae y cyfryw frawddegau wedi eu bwriadu yn gyffredin i fod yn bur gadarn a chryf. Dylent ganu gyda chydymdeimlad ymwybodol. Gweler "Duw fo'n blaid," tu dal. 1; "Chwilio am Ffawd," tu dal. 4; "O Geidwad," tu dal. 87; "Llawenhawn," tu dal. 41, yr ail gysodiad a'r trydydd; a "Y dderwen gref," tu dal. 78, y cysodiad cyntaf a'r olaf.

**Diweddebau.**—Nid oes ond ychydig o bethau yn fwy poenus i wrandawr na meddwl fod canwr yn lluddedig, ac ond ychydig o bethau yn fwy cyffröus na theimlo ei fod yn gorphen heb ludded. Hyd yn nod pan y mae y diweddeb tuag i lawr ac yn diminuendo, dylai fod yn gadarn, ond mewn diweddebau esgynol, y mae crescendo cryf yn anhebgorol angenrheidiol. Gweler diwedd "Llawenhawn," tu dal. 41, a "Rhegen yr Yd," tu dal. 15, cysodiad 1af a 5ed. Sylwer ar ddiweddeb disgynol cryf yn "Iesu 'Mrenin," tu dal. 33; "Y Dderwen Gref," tu dal. 77, y 4ydd cysodiad. Gweler hefyd ddiweddebau gwrthgyferbyniol, Cyfres Safonol, Ym. 145, y ddau gysodiad olaf.

**Seiniau Gwahaniaethol** trawsgyweriad y modd lleiaf, ac adferiad cromatic (oddieithr pan yn cymeryd lle mewn rhyw ran israddol, ac yn cael ei ddwyn i mewn yn amlwg er cyfleusdra y cynghaneddwr yn hytrach nag er mwyn unrhyw effaith ar y gynghanedd), a ddylent gael eu taro gyda phwyslais arbenig, oblegid y mae iddynt ystyr pwysig. Y maent yn newid effaith feddyliol yr holl seiniau ereill. Y mae i'r leisiau yn rhan y rhai y mae y sain ddamweiniol yn digwydd, beidio ei tharo yn gryf yn yspeilio yr holl gerddoriaeth o'i hystyr. Dylai seiniau y "trawsgyweiriad dychweliadol" hefyd gael eu pwysleisio. Ond os bydd i'r trawsgyweiriad ei hunan gael ei daro yn esgeulus bydd yr ail effaith yn cael ei golli.

Dylai y symmudiadau hyny yn y bass ag sydd yn marcio diweddeb tonyddol cyweirnod newydd, megis | d :r | s, : a | r :r | s, neu y lleiaf perthynasol megis | r : m | l, a | m : m | l gael eu taro mewn modd penodol, oblegid y maent yn helpu i ddangos gyda sicrwydd y trawsgyweiriad, neu y moddnewidiad. Gwe tu dal. 52.

Dylid dangos adferiadau cromatic hefyd mewn modd penderfynol, oblegid y maent wedi eu bwriadu i ail ddatgan y cyweirnod. Dylid talu sylw arbenig i'r seiniau hyny o'r cord a fuasent yn cael eu hadferu yn hollol wahanol pe buasai trawsgyweiriad wedi ei fwriadu. Yn "Gobaith gwyd y galon" (tu dal. 12), ail gysodiad, nid ydyw y fe yn yr alaw mewn sefyllfa ffafriol i acenu, ond dylai yr un yn y bass gael ei roddi allan yn glir. Yn "Mor ddisglaer" (tu dal. 12), yn niwedd y cysodiad cyntaf, mae y diweddeb yn newid y cyweirnod yn fwy trwy symudiad y bass na thrwy y sain wahaniaethol ysgafn yn y contralto; ac o ganlyniad bydded i'r bass symud yn benderfynol. Yn y cysodiad nesaf y

mae y sain wahaniaethol o drawsgyweiriad dychweliadol, sef **f** yn yr amgylchiad hwn, er nad yw yn gwneyd ei ymddangosiad hyd ddiwedd y dosran, yn dyfod allan y pryd hwnw yn effeithiol a dylid ei tharo yn glir gan y contralto a'r bass. Mae yr un lleisiau yn cael y "**f** ddychweliadol" ar dop tu dal. 13. Yn "Haleliwia" tu dal. 26, mae gan y lleisiau soprano **f** ddychweliadol pur effeithiol. Yn "Arglwydd Grasol" tu dal. 33, bydd y **se**, wrth gwrs, yn cael ei gosod allan yn glir, am ei bod yn sain wahaniaethol y modd lleiaf. Yn yr ail linell o'r geiriau, y mae moddnewidiad i'r mwyaf yr hwn a ddylai gael ei nodi yn eglur trwy symudiad diweddebol y bass, a thrwy ddefnyddiad clir y **s** gan leisiau y tenor, yn lle y **se**. Yn "Mae'r nos yn dod," tu dal. 81, y mae gan leisiau y tenor **f** ddychweliadol yn niwedd y cysodiad cyntaf, a lleisiau y contralto **f** drawsgyweiriadol y nechreu y cysodiad nesaf. Yn "Iesu anadla," tu dal. 91 a 93, y mae adferiad cromatic **fe** i **f** yn beth a ddylai gael ei nodi yn eglur gan y llais. Yn y darn hwn, yn gystal ag ar tu dal. 79, 94, 95, a 96, dylai y dull y mae y fath seiniau a **de**, **re**, **ma**, &c., yn llithro i'r seiniau sydd yn eu dilyn, gael ei ddangos yn glir a hoffus.

**Anghydseiniau.**—Yn mbob engraifft o anghydsain y mae sain wrthddaliadol a sain anghydgordiol. Dylai pob canwr wybod pa un o'r ddwy sydd yn perthyn i'w ran ef, pa un ai y sain wrthddaliadol cryf ynte yr un anghydseiniol esmwyth-symudol. Gwel tu dal. 23, 38, &c. Y mae yn anhawdd i ddysgyblion yn meddu clustiau diamaethedig i ganu y seiniau hyn yn sefydlog. Ond *rhaid* eu canu yn ddiildio, onite y mae eu hamcan yn cael ei golli a'u prydferthwch wedi myned. Pa le byddai prydferthwch y rhaidr pe byddai y graig wrthwynebus yn rhoddi i ffordd i'r llifeiriant ymosodol sydd yn taro yn ei herbyn, ac yna yn myned yn ei blaen? Dylid canu y sain wrthddaliadol mewn dull diysgog, ac "ergydiol" yn mron, a dylid taro yr anghydsain (yr hon sydd yn tarddu o'i pharatoad, ac yn dylifo yn mlaen i'w "hadferiad") fel rhan o frawddeg felodaidd, mewn dull pur esmwyth a chysylltiol. Bydded i'r dysgyblion dreio eu gallu i daro anghydseiniau yn dda trwy ganu "Emyn Jackson" (tu dal. 3), lle y mae y **d** ar y gair "am" gan leisiau y contralto yn anghydseinio â r lleisiau y soprano, ac ar y sill gyntaf o'r gair "einioes," y mae y **r** yn erbyn **m**: hefyd ar yr ail sill yn y gair "a ofolaist" y mae gan leisiau y soprano **t** yn anghydseinio â **d**ˡ ac ar y sill "dir" y mae **m** yn anghydseinio ychydig a **f** yn y bass; tra ar yr un sill y mae gan leisiau y tenor **s** nid yn unig yn anghydseinio â'r **f** isel yma, ond yn taro fel eilfed yn erbyn **l** lleisiau y soprano. Bydd yr efrydiaeth yma ar yr anghydseiniau, nid yn unig yn rhoi gwroldeb i'r canwr, ond mwy o fwynhad. ac ychwanega lawer at brydferthwch yr effaith. Gwel hefyd y Gyfres Safonol, Ym. 114, 141, 244.

*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. **226**. Yn mha arddull y canech chwi y frawddeg yn "Llawenhawn" (tu dal. 40), "A bydd ein hysguboriau'n llawn," a "Dyma gân" (tu dal. 69, 71), a'r "Dderwen Gref" (tu dal. 77, 78.

Ym. **227**. Pa ffurf o fynegiant a roddech i'r seiniau canlynol ar tu dal. 67. Bass **f** cysodiad 1af; 2ail gysodiad, tenor **d** yn cael ei chanlyn gan y bass **s** a **f**?

**Ym. 228. Pa ffurf o fynegiant cerddorol a roddech i'r ddwy *lah* yn lleisiau y contralto, tu dal. 85, 3ydd cysodiad?**

**Ym. 229. Pa arddull o fynegiant a roddech yn gyffredinol i'r seiniau yn y Gyfres Safonol, Ym. 140?**

Ym. **230**. Wrth ganu y frawddeg *p* "Gweddi Foreuol" (tu dal. 79), cysodiad cyntaf, pa ofal arbenig fydd yn ofynol oddiwrth y cantorion yn yr holl ranau?

Ym. **231**. Paham y dylai y lleisiau contralto a'r bass yn "Dowch Feibion" (tu dal. 13), ail gysodiad, y trydydd a'r pedwerydd mesur, gael eu taro yn benderfynol; a pha sain, yn dilyn yn union gan yr un lleisiau, a ddylai gael ei phwysleisio yn arbenig? Yn "Iesu 'Mrenin" (tu dal. 33), pa rai yw y seiniau gwahaniaethol mwyaf neillduol a pha fodd y dylid eu canu?

Ym. **232**. Pa fynegiant cerddorol a roddech i'r **ta**, a'r **fe**, yn Ym. 142 yn y Gyfres Safonol y trydydd cysodiad. I'r **se** yn Ym. 189, trydydd cysodiad, i'r **ba** yn Ym. 193 ail gysodiad?

**Dadelfenu Brawddegau Canredol.**—Y mae yr arferiad a ddadelfenu, yr hwn a ddesgrifir yn y gris blaenorol, yn dyfod yn fwy anhawdd ond yn fwy dyddorol pan y mae genym y gorchwyl o ddadelfenu efelychiadau canredol neu y rhai hyny ag y mae y naill ran fel yn rhedeg ar ol un arall. Yn yr engreifftiau hyn nid ydyw rhaniadau mydryddol mawr y melawd mor reolaidd. Y mae un meddylddrych cerddorol yn ymgordeddu âg un arall— fel hyn yn Ym. 234, cyn bod yr ail ddosran yn gyflawn, y mae yr ail lais yn dechreu dosran o'i eiddo ei hunan, ac y mae felly yn bur fynych trwy y darn hwn a darnau ereill. Yr ydym o ganlyniad yn gorfod desgrifio y brawddegau a'r dosranau mewn rhyw ddull fel yr un ganlynol. Y mae Ym.

234 yn gynwysedig yn gyntaf o destyn o un mesur a haner, yr hwn a gychwynir gan y rhan uchaf, ac yn cael ei efelychu mewn cyfrwng o *bedwerydd islaw* gan y rhan isaf, *ar ol un mesur*. Y mae hwn drachefn wedi un mesur yn cael ei efelychu, mewn pedwerydd uwchlaw gyda diweddeb gwahanol. Y mae hwn drachefn wedi un mesur, yn cael ei efelychu mewn pumed islaw; a thrachefn wedi un mesur, yn cael ei efelychu mewn chweched uwchlaw, a thrachefn mewn chweched islaw. Ar ol dau fesur y mae y testyn neu'r sylfon cyntaf gyda'r hen ddiweddeb yn cael ei gymeryd i fynu gan y llais uchaf am ddau fesur, tra y mae y llais isaf yn ei addurno. Yna y mae yn canlyn ddilyniad o ddau fesur, pob rhan o ba un sydd yn cynwys efelychiad mewnol. Terfynir y darn gan bedwar mesur o ddiweddeb addurnol. Y mae Ym. 195 yn agor gyda thestyn yn y rhan isaf, o dri mesur a hanner, yr hwn a efelychir yn y rhan uchaf, ar ol pedwar mesur, mewn pedwerydd uwchlaw, y rhan isaf yn fath o gyfeiliant tyner ac ysgafn. Yna y mae yn dilyn wyth o fesurau o'r hyn a ellir ei alw yn rhyngchwareuad gwrthbwyntiol hyny ydyw, ryw chwareu yn mysg y rhanau, y naill yn erbyn y llall heb unrhyw amcan arbenig. Un mesur cyn i hyn derfynu, mae y rhan uchaf yn cychwyn yr hen destyn tri mesur, yr hwn a efelychir mewn modd anmhenodol ar ol dau o fesurau, ac yna am chwech o fesurau ychwaneg y mae rhyngchwareuad gwrthbwyntiol arall. Y mae y rhan isaf yn cychwyn ei thestyn cyntaf gyda diweddeb amrywiedig yn cyrhaedd hyd bump o fesurau, ac y mae hwn yn cael ei efelychu drachefn yn y pumed uwchlaw, ond nid ar ol tri mesur fel o'r blaen, ond ar ol un mesur. Y mae y *dynesiad agosach* hwn mewn efelychiad yn cael ei alw yn *Stretto*. Ar ol efelychiad addurniadol canredol byr, mae y darnau yn terfynu, gyda phum mesur a hanner o gydseinedd gwrthbwyntiol. Dylai y canwr farcio gyda phwyntil hyd cywir y testynau canredol. Pan na fydd y rhan neu ranau ereill ond fel cyfeiliant i'r testyn canredol, byddant wrth gwrs yn cael eu cadw yn iswasanaethgar. Yn y rhyngchwareuadau a'r cydseiniadau gall y rhanau fod yn gyfartal mewn grym. Yn y *stretto* dylai eu dechreuad gael eu nodi yn benderfynol, ond gall y rhanau fod yn gyfartal mewn grym hyd nes y bo'r cyntaf fo wedi dechreu wedi gorphen y testyn a efelychwyd, gan adael i'r ail gael ei glywed yn dda yn ei ddiwedd. Fe ddengys y sylwadau hyn bwysigrwydd yr efrydiaeth hwn. Bydded i'r dysgybl yn awr ysgrifenu allan ddadansoddiad o'r cyfryw ymarferiadau a 233, 235, a 236. Bydd yn anhawdd gwneyd hyny ar yr olwg, dylent ganu yr ymarferiadau drosodd gyda rhyw gyfaill lawer gwaith drosodd.

**Mae y rhestr fechan** o fewn cylch uchaf y llais dynol, ac yn perthyn i ferched a bechgyn yn unig. Y maent yn pasio iddi yn naturiol ar un-F♯ (F♯[1]), neu un-G (G[1]). Y mae yn hynod fod cyfnewidiad y toriad i'r rhestr yma yn wythawd union yn uwch na'r un i'r rhestr deneu. Ar y ffaith yma y darfu i efrydwyr boreuol y llais, adeiladu y syniad cyfeiliornus fod rhestrau lleisiau meibion a merched yr un, ond eu bod wythawd ar wahan. Nid yw y gwahaniaeth o ran natur rhwng y rhestr fechan a'r un deneu mor amlwg a'r gwahaniaeth rhwng y rhestr dew a'r un deneu. Mae y cyhyrau bychain trwy ba rai y mae y llais yn cael ei gynyrchu yn y rhestr yma yn bur eiddil, ac y mae Garcia yn cynghori iddynt beidio cael eu dirdynu trwy ormod o arferiad. Y mae rhai lleisiau contralto dwfn, er eu bod yn wan ac anadlog yn y rhestr deneu yn cynyrchu lluaws o seiniau y rhestr uchaf yma. Mae eu larynx mwy, a'u bronau cryfach yn eu galluogi i wthio y seiniau hyn allan yn fwy hawdd na llawer o leisiau soprano; ond er fod swm y llais yn fwy, mae yr ansawdd yn fwy israddol, a dylai cantorion cyffredin gael eu cynghori i beidio amaethu cyfran aflafar ac afreidiol o'u llais. Y mae rhai cantorion megis Alboni ac ereill sydd wedi eu donio mewn modd anghyffredin wedi cael cyfleusderau i amaethu a defnyddio pob rhestr o'u llais mewn dull ag sydd i'r rhan fwyaf o leisiau contralto, yn beth anmhosibl.

Ar gyfer canu corawl cyffredin nid ydyw seiniau y rhestr yma, oddigerth un-G (G[1]), yn cael eu defnyddio ond ychydig, ond y mae Bach, Handel, Haydn, Beethoven, a Mendelshon, i gyd yn defnyddio un-A (A[1]) yn rhai o'u cydganau, ac felly dylai pob cymdeithas gorawl fod yn alluog i gynyrchu grym clir llawn a diboen ar y sain hon. Gellir cael hyn hawddaf trwy amaethu rhestr fechan y lleisiau soprano. Y mae yn felusach a disgleiriach nag eiddo y lleisiau contralto, at y rhai y cyfeiriwyd eisoes—ac heblaw hyny, y mae yn barhaus ynddynt hwy, gyda rhestr deneu dda (yr hyn sydd yn gyffredin yn diffygiol yn y cyfryw leisiau contralto) ac felly gall brawddegau sydd yn rhedeg dros y "toriad" gael eu canu gydag ansawdd gwastad ar eu llais. Mae y cyfansoddwyr clasurol yn disgwyl i gantorion eu *hunawdiau* fyned yn llawer uwch. Y mae Beethoven yn *Engedi*, yn

*Cyf. Saf. (New.)*




Nodiad.—Mae y llinell wastad dew yn dangos y "toriad mawr" rhwng y Rhestrau tew a theneu, islaw G. Mae y llinell deneu—wythawd yn uwch—yn dangos y "toriad bychan" rhwng y Rhestrau Tenau a Bychain. Mae lleisiau Meibion a Merched yn gwahaniaethu yn y toriad o'r rhan isaf i'r rhan uchaf o'r Rhestr Dew.

*Cyf. Saf. (New.)*

gofyn dau-D (D-); rhaid gwneyd y cyfryw beth a hyn gan leisiau wedi eu hamaethu yn gelfyddydol. Mewn salmdonau wedi eu hysgrifenu ar gyfer corau amaethedig gellir defnyddio un-G (G[l]) hyd yn nod ar seiniau parhäol, ond am salmdonau wedi eu hysgrifenu i gynulleidfaoedd ni ddylent gyffwrdd y rhestr fechan, oblegid nid yw corff lleisiau merched mewn cynulleidfaoedd wedi eu hamaethu i'w ddefnyddio.

Mae yn bosibl i'r rhestr fechan, fel y rhestrau ereill, estyn drosodd tuag i lawr, ond nid ydyw yn gwneyd hyny mor fynych ag y mae y rhestr deneu yn lleisiau meibion. Gall fod yn fantais yn fynych, ac yn esmwythad yn enwedig i ail soprano gymeryd un-F (F[l]) bob amser yn y rhestr fechan.

**Mae Toriadau Lleiaf** y llais yn rhanu rhestrau tew a theneu i ranau uchaf ac isaf. Mae y toriad rhwng y rhestr deneu uchaf ac isaf yn bur amlwg mewn lleisiau soprano rhwng un-C (C[l]) ac un-D (D[l]). Gall yr un deneu uchaf estyn drosodd tuag i lawr, ond nid yw yn gyffredin yn gwneyd hyny. Mae yn hawdd canfod y toriad rhwng yr uchaf ac isaf o'r rhestrau tew mewn lleisiau meibion rhwng A-un ($A_1$) a B-un ($B_1$). *Fel all* y rhestr dew uchaf estyn drosodd tuag i lawr ond anfynych y mae felly yn lleisiau dynion. Dywed Madame Seiler fod y toriad hwn yn *lleisiau merched* yn cymeryd lle un rhan o dri yn uwch, rhwng C a D; ond yr ydym wedi sylwi fod llawer o ferched yn arfer gwneyd i'r rhestr dew uchaf estyn drosodd tuag i lawr, a felly y maent yn newid i'r rhestr dew isaf, yn union yn yr un man ag y mae meibion, ar A-un ($A_1$).

**Rhestrau Siarad.**—Y mae meibon yn siarad yn gyffredin yn eu rhestr dew. Y mae lleisiau tenor pa fodd bynag yn defnyddio y rhestr dew uchaf, yr hon sydd yn fwy hyfryd. Anaml iawn y clywir dyn yn siarad yr ei restr deneu, gyda rhyw lais teneu gwichiog. Dylai y rhai sydd yn gorfod ymwneyd a phersonau sydd mewn rhan yn fyddar ddeall, y clywir dynion yn well pan yn siarad yn bwyllog mewn graddeg uchel ar eu llais, na phan yn uchel ar raddeg isel. Y siarad parhaus yma yn y rhestr dew, ydyw y rheswm pam y mae dynion wrth ganu yn cael eu temtio i dreisio eu llais yn ormodol tuag i fynu, ac i esgeuluso eu rhestr deneu. Y mae merched yn gyffredin yn siarad yn eu rhestr deneu, ond y mae rhai lleisiau contralto yn defnyddio eu seiniau uchel tew, ac weithiau ceir clywed merch yn siarad yn y rhestr isel. Yr arferiad cyffredin hwn o ddefnyddio y rhestr deneu yma wrth siarad sydd yn eu temtio i'w arfer tuag i lawr yn fwy nag sydd raid—ac felly i esgeuluso a bod yn ddisylw o seiniau rhagorach y rhestr dew uchaf.

**Peirianwaith a Theimlad y Rhestrau.**—Yn y rhestr dew isaf, y mae holl hyd a sylwedd y pilenau lleisiol yn cael eu taflu i lawn ddirgryniad. (Gwel y darlun ar ymyl Modulator y lais). Rhaid i'r awyr gan hyny gael ei wasgu ar y pilenau gyda mwy o swm nag yn y rhestrau ereill. Yr ydym yn teimlo yr awyr yn pasio i bibell y gwddf o bob parth o'r ysgyfaint. Mae hyn yn lledu cylchau pibell y gwddf, ac fel canlyniad y mae yn tynu y larynx i lawr. "Y mae dyn felly," medd Madame Seiler, "yn teimlo fel pe buasai yr holl gorff yn cymeryd rhan yn y ffurfiad hwn ar y sain."

Yn y rhestr dew uchaf tra y mae holl dewdwr y pilenau yn dirgrynu, y mae eu *hyd* yn cael eu byrhau yn fawr. "Yr ydys yn teimlo," medd Madame Seiler, "fel pe byddai y seiniau yn dyfod o ran uchaf y fron." Nid yw y teimladau corfforol hyn yn dangos pa fodd y mae y seiniau yn cael eu cynyrchu, ond pa rai o'r giau sydd yn cael eu cyffroi yn y gwaith. Y maent, pa fodd bynag, yn ein cynorthwyo i adnabod y gwahaniaeth rhwng y rhestrau, ac y maent yn cyfrif am rai o'r enwau gwahanol a roddwyd hyd yn hyn ar y rhestrau.

Yr y rhestr deneu isaf y mae holl hyd y pilenau yn cael drachefn eu defnyddio; ond nid oes ond eu hymylau teneu yn dirgrynu. "Y teimlad ydyw fel pe byddent yn cychwyn yn y gwddf."

Yn y rhestr deneu uchaf mae y pilenau yn cael eu byrhau drachefn, a theimlir fel pe byddai y gwddf heb fod yn ymwneyd dim â'r seiniau—fel pe byddent yn cael eu ffurfio i fynu yn y geneu."

Yn y rhestr fechan nid oes ond cyfran fechan o'r beudag, ar rhan flaen y larynx yn cael ei agor, ac y "mae un yn teimlo," medd Madame Seiler, "fod y seiniau yn dyfod o'r talcen." Fel hyn y mae y canwr fel y chwareuwr ar y crwth, yr hwn sydd weithiau yn defnyddio llinyn teneu, weithiau un tew, ac weithiau un byr, ac weithiau un hir. Bydd y sylwadau hyn yn help i sefydlu sylw y dysgybl ar wahanol gyfnewidiadau ei lais. Yr ydym yn cael fod

**Lleisiau Bechgyn** bron yr un yn eu gwahanol Restrau a lleisiau merched, ond y maent yn gyffredin yn cael eu harfer yn fwy garw a chras. Mae yr arferiad a ganiatau i fechgyn waeddi yn

erbyn offeryn cerddorol mewn ysgolion ac eglwysi pentrefol, nid yn unig yn dryllio y llais yn ddarnau ond yn dinistrio y tynerwch a'r mwyneidd-dra teimlad hwnw y dylai cerddoriaeth ei gynyrchu. Yr arferiad garw hwn ar leisiau bechgyn sydd wedi cynyrchu yr argraff eu bod yn wahanol o ran ansawdd i eiddo merched a genethod, a bod yn anmhosibl eu hamaethu yn dyner; ond wrth gwrs y mae nerth corfforol ychwanegol bechgyn yn rhoddi mwy o *gorff* yn eu lleisiau nag y mae y genethod yn ei feddu. Camgymeriad mawr ydyw gosod yr holl fechgyn mewn ysgol i ganu y contralto, a'r holl enethod y soprano. Ceir y lleisiau soprano a contralto yn yr un cyfartaledd yn mysg y bechgyn a'r genethod. Pan ddaw tymhor "cyfnewidiad y llais," ni ddylid am ryw amser gymaint a cheisio canu, ac ni ddylid ail ddechreu ond yn raddol a gofalus. Y mae llawer o leisiau wedi eu dyfetha trwy esgeuluso yr arferiad hwn.

**Lleisiau a "Rhanau."**—Y mae pedair prif "ran" cerddoriaeth wedi eu nodi ar tu dal. 31, ond ar gyfer hoenganau *(glees)*, anthemau, a cherddoriaeth i leisiau meibion, y mae dosbarthiad mwy manwl yn angenrheidiol a chan fod amaethiad y rhestr deneu fe allai wedi cynyrchu rhai lleisiau tenor da, ac amaethiad y rhestr dew rhai lleisiau contralto da, dylai yr athraw yn awr gynghori pob un o'i ddysgyblion pa ran neu ranau y mae ei lais yn fwyaf cymhwys iddo. Y mae y "rhanau" y mae merched i'w canu yn cael eu rhanu yn fynych i soprano, ail soprano a contralto. Weithiau yr ydym yn cyfarfod a cherddoriaeth yn bedwar llais i ferched yn unig, yn gofyn fod i'r lleisiau contralto gael eu rhanu i gyntaf ac ail. Mae y "rhanau" y mae y meibion i'w canu yn cael eu rhanu yn fynych i'r tenor cyntaf, yr ail, a'r bass; a rhan ychwanegol weithiau yn cael ei ysgrifenu i'r bass cyntaf a'r ail. Mae y rhai sydd wedi dadelfenu lluaws o leisiau yn gwybod fod amrywiaeth diderfyn ymron. Ni ddylai dim foddloni athraw fyddo yn dymuno ymarfer ei ddosbarth ar gyfer y mathau uchaf o gerddoriaeth, ond ymchwiliad personal i bob llais ar gynllun "Llyfr Adroddiad y Llais."

*Mae y dull o ymchwilio* yn syml, ond dylid ei ddwyn ymlaen gyda gofal mawr. Mae yr athraw gyda bechgyn a genethod yn taro y G, a chyda'r meibion yn taro G-un ($G_1$). Os seinfforch yn unig a arferir, dylid cymeryd gofal mawr i sicrhau graddeg y sain yn *gywir*. Gan ddechreu gyda G neu G-un ($G_1$) mae y dysgybl yn *lâ-io* tuag i lawr (ar seiniau hirion, gan gymeryd anadl o flaen pob un) a, f, m, &c., tra mae yr athraw yn pwyntio ar "Modulator y Llais."* Mae yr athraw yn gwneyd nodiadau, neu yn eu darllen i'w gynorthwywr. Dylai seiniau amheus gael eu treio drachefn. Dylai y "toriadau" gwahanol gael eu croesi tuag i fynu a thuag i lawr. Ar ol gwneyd hyn, mae y dysgybl, gan gychwyn drachefn o G neu G-un ($G_1$) yn *lâ-io* tuag i fynu s, l, t, d$^1$, &c., tra mae yr athraw drachefn yn efrydu ac yn cofnodi ansawdd bresenol llais y dysgybl. Gall yr athraw gyplysu gyda'u gilydd luaws o seiniau y raddfa ar ymyl ei Lais-adroddiad a marcio naill a'i trwy eiriau neu rifnodau (1 am ganolig, 2 am dda, 3 am dda iawn) yn gyntaf, ansawdd ac wedi hyny swm neu gorff y llais; neu fe all farcio y seiniau yn unigol yr un modd. Dylai ffigyrau yn dangos graddau rhagoriaeth yn noddiad y rhestrau i'w gilydd gael ei roddi yn mhob amgylchiad. Dylai seiniau dewisiadol mwyaf defnyddiol yn lleisiau dynion gael eu henwi, a'r lle y mae llais merch yn tori, rhwng y rhestrau tew uchaf ac isaf, gael eu marcio. Ar ol hyny bydd yn hawdd marcio cwmpas llawn y llais a'r man goreu arno. Trwy yr ystyriaethau hyn y penderfynir yr enw i'w roddi arno, megis y soprano cyntaf neu'r ail, &c., y contralto cyntaf neu ail, &c. Bydd Llyfr Adroddiad y llais, wedi ei gadw yn ffyddlon, yn anmhrisiadwy i'r athraw pan y bydd yn dymuno dewis cantorion i ryw bwrpas neillduol ac fe arweinia y dysgybl i efrydu ac amaethu ei lais ei hun.

*Am y llais soprano cyntaf* nid hawdd ei gamgymeryd; mae gan yr un sydd yn ei feddu heblaw rhestr deneu dda, ychydig o seiniau y rhestr leiaf y rhai a gordeddant yn rhwydd gydag ef. Gellir adwaen un sydd yn meddu *ail soprano* trwy ei bod yn meddu rhestr dew uchaf da gyda rhestr deneu da, hyd yn nod os na fydd ganddi at ei galwad fwy nag un sain neu ddwy o'r un fechan.

*Llais contralto* ydyw un sydd yn meddu seiniau llawn da yn y parth gwahaniaethol o'r "rhan" contralto—y rhestrau tew uchaf ac isaf. Ni ddylai yr athraw gymeryd ei gamarwain gan y cwmpas mawr tuag i fynu ag y mae rhai o'r lleisiau hyn yn ei feddu, oblegid y mae eu rhestr deneu yn gyffredin yn wan ac allan o gywair: tra y mae eu rhestr fechan, er yn gryf, yn galed. Pan y mae eisiau llesiau y contralto cyntaf, fe ddewisa yr athraw yn naturiol y rhai sydd yn wanach yn y rhestrau tew isaf, ac yn well yn y rhestrau tew uchaf, na'r lleill. Gelwir y llais olaf weithiau yn *mezzo* (medzo) soprano.

Am y *Tenor cyntaf* (fel y gelwir ef yn awr yn

*Modulator mawr y llais, pris 1s.

Germani a Ffrainc) neu yr hen "counter tenor" Seisnig, nis gellir yn hawdd ei gamgymeryd. Mae gan y neb fo yn ei feddu ansawdd ysgafn a hyfryd ar ei lais yn y rhestrau tew uchaf a theneu isaf. Gall counter-tenor wedi ei amaethu yn dda roddi seiniau da i fynu hyd at un-F (F') ar ben y rhestr deneu uchaf ond nid ydyw y fath gwmpas yn beth cyffredin. Cylch *uchaf* y "rhanau" i leisiau meibion yn amser Palestrina ydoedd un-C (C') neu un-D (D'); mae y "counter-tenor" yn ngherddoriaeth Tallis a Morley yn cyrhaedd A and B♭ ac nid ydyw y tenor cyntaf yn y gerddoriaeth yn Germani i leisiau meibion yn fynych yn myned yn uwch na B♭. Y mae yn beth pur gyffredin i'r lleisiau tenor i orfodi eu rhestr dew uchaf fyned i fynu at y sain hon, ond ansawdd nodweddiadol y tenor *cyntaf* ydyw ei fod yn defnyddio ei restr deneu gyda phleser, ac yn cynyrchu gyda hi seiniau *disglaer*, eto tyner fel *flute*. Yr oedd y tenor cyntaf, y counter tenor, neu alto tenor yn cael ei ddefnyddio yn Lloegr ar gyfer y rhanau uchaf mewn cerddoriaeth i leisiau meibion yn oes y Madrigal yn amser Elizabeth. Ond ar adferiad Siarl yr ail, dygodd yr Opera Italaidd gydag ef y cantorion Ennuchaidd, lleisiau contralto llawn cryf y rhai a awgrymodd i gantorion bass ddefnyddiad eu rhestrau teneu uchaf, y rhai oeddent yr un mor gryf ond nid mor lawn. Darfu i'r darganfyddiad anffodus hwn arwain i esgeulusiad y counter-tenor tynerach a disgleriach, ac yr oedd holl gerddoriaeth contralto, yn amser Handel yn cael ei ysgrifenu ar gyfer seniau caled y bass-alto, ac y mae yr un llais yn cael ei ddefnyddio eto yn lle contralto llawnach y merched, mewn eglwysi cadeiriol a chymdeithasau corawl, yn y rhai y mae traddodiadau y ganrif olaf yn cael eu cadw. Yr ydys wedi sylwi o'r blaen (Gwel "Rhestr fechan") fod canwyr y contralto yn gystal a chanwyr bass yn meddu y gallu, trwy eu *larynx* mwy, a'u brest gryfach, o weithio allan restrau uchaf eu lleisiau. Fel hwythau y mae lleisiau y bass-alto yn wan ac anadlaidd yn y rhestr nesaf islaw, fel nad oes dim parhad a chyfartaledd o ran llais ar draws y toriad yn G, ac y mae y cyfnewidiad yn y rhestr yn hawdd ei ganfod, ac yn anhyfryd. Mae y llais arbenig anasiedig hwn yn fynych yn dra ansicr ac allan o gywair, ac y mae ei amaethiad yn dra anymunol. Mae y basswyr Tyroleaidd yn fynych yn defnyddio y llais teneu hwn yn eu Jodl-ganeuau; ond nid ydynt yn ceisio defnyddio y parth hwnw o'r llais sydd yn gorwedd cydrhyngddynt. Nid oes dim mwy o eisiau i'r gwir counter-tenor neu tenor-alto gymeryd y lle a feddienir mewn amseroedd diweddar gan y contralto nag sydd i'r bass-alto. Ond mewn cerddoriaeth leisiol i feibion, ar gyfer canu unawdiau y mae yn dra gwerthfawr. Fe sylwa yr athraw fod lluaws o leisiau y tenor yn ddiweddar wedi eu cam arwain trwy y siarad ofer am G neu A y frest fel ag i wthio eu llais tew i fynu gan adael seiniau prydferth eu llais teneu yn hollol ddiamaethedig. Byddai ymarfer mewn cerddoriaeth ar gyfer lleisiau meibion naill ai ar wahan neu am haner awr ar ol dosbarth gymysg yn meddyginiaethu hyn, ac yn adferu i Loegr y lleisiau tenor hir golledig. Adwaenir y lleisiau *ail denor* trwy ragoroldeb y seiniau isaf; nid oes iddynt ond ychydig o waith i'w rhestr deneu ond ar G. Ond dylid ei hamaethu yno mewn gwirionedd os nad hefyd, fel rhestr ddewisiadol, ar F. E. D. Y mae tenorwyr o'r ddau fath, o'r enwogrwydd mwyaf yn newid yn gyson i'r rhestr deneu ar D neu E. Y mae gwaeddi a dirdynu rhan y tenor ar y restr uchaf yn dra phoenus i'r glust ac yn cynyrchu ymron bob amser leddfiad neu ostyngiad yn ngraddeg y llais.

*Gellir gwahaniaethu y Bass* cyntaf neu y llais Baritone oddiwrth yr ail bass trwy ei fod heb feddu llawnder islaw C-un ($C_1$), neu B-dau ($B_2$). Anaml y mae gan y cyfryw leisiau seiniau priodol y rhestr deneu, ond y maent yn fynych yn ei brofi yn rhyddhad i ddefnyddio y rhestr hono fel un ddewisiadol yn lle y ddwy neu dair sain uchaf o'r rhestr dew uchaf; y mae yn eu cadw rhag dirdyniad a lleddfiad y llais. Adwaenir yr ail Bass trwy ei seiniau llawn cryf ar A-dau ($A_2$), G-dau ($G_2$), F-dau ($F_2$), ac hyd yn nod yn is. Nid ydyw yn y rhanau uchaf o'r llais yn annhebyg iawn i'r baritone. Cynghorir y lleisiau bass hyny y rhai sydd yn meddu y bass-alto fel y'u gelwir neu "lais y pen," yr hwn sydd yn gyffredin (er nad bob amser) o natur ysgrechaidd gwichiol, i beidio ei ddefnyddio. Nis gall yr ymchwiliad hwn i leisiau a gynghorir yma gymeryd llai nag o bymtheg mynyd i haner awr i bob person, a dylid edrych arno fel gwersgyfrinachol arbenig ac un o werth mawr i bob dysgybl.

**Cwmpas.**—Fe ganfyddir ein bod yn y cyfarwyddiadau hyn mewn perthynas i ddosbarthiad y lleisiau, wedi osgoi pob cyfeiriad at *gwmpas* fel maenbrawf ein beirniadaeth. Yr ydym yn gwneyd hyn nid yn unig am ein bod felly yn rhydd i sicrhau yr ansawdd goreu a'r swm mwyaf o lais i bob "rhan," ond oherwydd y niwed mawr a wneir i'r lleisiau trwy yr arferiad o ganu tu

hwnt i gylch eu rhan briodol. Y mae athrawon ac arweinwyr canu mewn modd neillduol yn agored i'r perygl hwn. Y maent yn awyddus i ddangos i bobl ereill y seiniau priodol, ac y maent yn esgeulus o'r dull y maent yn eu cynyrchu. Y mae addysgiant blaenorol trwy *gynllun* distaw mewn gwirionedd yn ffordd gyflymach a gwell i gyrhaedd yr amcan a fwriedir. Gall rhai canwyr unawdiau, wedi ymarfer yn dda amaethu cwmpas mawr ar eu llais yn ddiberygl, ond ceir fod ereill yn niweidio seiniau eu cwmpas priodol trwy fyned lawer allan o hono. Pan y mae angen am y dosbarthiad mwy manwl ar y "rhanau" (pob un o'r *pedwar* rhan arferol yn cael ei ranu i gyntaf ac ail), gall fod yn fuddiol i sylwi, nad oes ond ychydig o gyfansoddwyr yn myned yn mhellach na'r terfynau a nodir ar "Modulator y llais," tu dal. 114. Mae llais uchaf y meibion, y counter-tenor, a llais isaf y merched, yr ail contralto, yn cytuno; y maent yn canu yr un rhan. O'r pwynt hwn tuag i fynu ac i lawr y mae cwmpas *cyffredin* y rhanau yn codi ac yn gostwng trwy drydyddau.

**Yr Achosion o Leddfiad** y llais neu ei fod yn flattio ydynt — 1af, Gwendid corfforol. Pan fyddo felly, dylai y canwr atal ei frwdaniaeth er mwyn ereill, a chanu yn dyner, a gwrando.—2ail, Gordreisio y Rhestr dew uchaf yn rhanau uchaf lleisiau meibion yr hyn a wellheir yn union trwy amaethu yr un deneu.—3ydd, Anadledd y Sain a diffygion mewn rhanau amrywiol lleisiau neillduol. —4ydd, Diffygion y glust, i'w feddyginiaethu trwy wrando yn hir a sylwgar, a thrwy efrydu effeithiau meddyliol seiniau—5ed, Canu y *piano* yn esgeulus a diofal, neu *forte* yn arw a bras, yr hyn a ellir ei osgoi yn hawdd.—6ed—Canu yn barhäus gyda pheirianau wedi eu "cyfaddasu," gyda'u pumedau lleddf, a'u trydyddau llon, gan roddi y glust allan o gywair.—7ed, Cydymuno a chantorion gwael fyddont yn ymyl, a diffyg sylw ar yr arweinydd.—8ed, Ystum ddrwg wrth ganu.—9ed, Esgeuluso anadlfanau a'r blinder sydd yn canlyn a —10ed, Gwaeth a mwy cyffredin na'r cyfan, *diffyg dyddordeb*, ac o ganlyniad canu llusgedig. Dylai y canwr wneyd dal i fynu graddeg y seiniau yn wrthddrych neillduol ei sylw, a dylai alw sylw ei ddysgyblion at hyny yn aml ar ddiwedd darn. Diwedd un penill a dechreu un arall ydyw y lle mwyaf cyffredin y collir y sylw, ac o ganlyniad y gostyngir y cywair. Bydded i'r dysgybl ochel hyn. Os bydd yn actio fel arweinydd y canu, bydded iddo beri clywed ei lais ar y seiniau effeithiol, yn neillduol ar ddechreu y llinellau. Gall organydd ddal i fynu raddeg y seiniau heb chwareu yn uchel, trwy driniad medrus ar y *stops* mwyaf treiddgar. Bydd diweddeb (78 i D) yr hwn a roddir allan mewn graddeg uchel mewn rhyngchwareuad yn gwneyd argraff ar y glust yn well na rhuad uchel ar y seiniau isaf.

**Solffeio y Toriad.**—Dylai y rhai sydd yn canu tenor, ar ol cyrhaedd y pwynt yma gael eu cyfarwyddo i farcio y mannau y mae yn fwyaf doeth i newid o'r rhestrau tew i'r rhai teneu, ac o'r rhai teneu i'r rhai tew. Gwel tu dal. 68; ond sylwer pan fo'r rhestrau wedi eu cyfartalu yn dda, fel nad ydyw y cyfnewidiad o'r naill i'r llall yn cael ei ganfod gan y gwrandawr, *fe all* mai gwell ydyw newid bob amser yn yr un man mewn uchder sain, yn lle ceisio cyfaddasu y toriad at y frawddeg gerddorol: fe wneir hyn gan rai o'n canwyr goreu. Dylai pob dysgybl efrydu gallu ei lais ei hun. Dylai lleisiau ereill heblaw y tenor ffurfio yr arferiad o "Solffeio eu toriadau" mor fuan ag y tarewir y cyweirnod. Fel hyn, er esiampl, dylai ail soprano, gyda sain uchaf deneu ar un-F (F¹), yr hon a gynghorir i amaethu eu rhestr fechan, ddysgu cyfrif y nodyn Solffäyddol ar ba un y syrthia. Pan y mae cyweirnod C yr cael ei daro, hi gofia mai y nodyn y mae hi i wylied ydyw y f; pan y mae D yn cael ei daro, y mae hi yn meddwl am ei re ai m; pan y mae E yn cael ei daro y mae hi yn cofio am ei de a'i r. Marcier y seiniau dewisiadol a'r mannau cyfnewid yn y dull a nodir yn Ym. 170 i 175. Gweler y gofyniadau ar ddiwedd y gris hwn, Rhif. 73.

**Chwechfedau, Wythfedau, a Nawfedau Curiad.** Ni ddefnyddir y rhai hyn ond yn bur anfynych oddiethr mewn cerddoriaeth offerynol. Enwir *wythfedau* curiad fel hyn *tanaffanateneffene* :ll,ll.ll,ll|. Bydd yr ymgais i'w canu i guriad yr athraw yn gyflymach a chyflymach yn dra difyrus i'r dysgyblion, a bydd yn help mawr i finiogi eu teimlad o raniadau mewn amser. Y mae dwy ffordd yn y rhai y gellir rhanu curiad i *Chwechfedau*. Gellir yn gyntaf ei ranu i drydeddau, ar trydeddau i haneri fel hyn, tâtêtî, *taffateffetiffi*, :ll .ll .ll | yr hyn a alwn yn chwechfedau trydeddau, neu fe ellir ei ranu yn gyntaf i haneri ac yna yr haneri i drydeddau, fel hyn—TATE, *taralterle* :lll . lll | yr hyn a ellir ei alw yn "chwechfedau-haneri." Mae y *Nawfedau* yn tybied y curiad yn cael ei ranu i

*Cyf. Saf. (New).*

drydeddau drachefn, fel hyn tâtêtî, *taralaterelatirili*, :111,111,111 | . Bydd yn ymarferiad defnyddiol i'r athraw, tra yn curo amser, i alw am "haneri," "chwarteri," "wythfedau," "trydeddau," "chwechfedau-trydeddau," "nawfedau," "haneri," chwechfedau-haneri," ac felly yn y blaen.

**Rhaniadau anghyffredin mewn amser.**—Bydd yn fuddiol yma i roddi nodiad ac enwad rhai o'r mydrau llai cyffredin. Pan renir curiad i chwarter, haner, a chwarter curiad, ysgrifenir ef fel hyn | t ,l .,s : neu yn well fel hyn | t ,l .-,s : ac y mae yn cael ei alw yn taffa-effe. Pan renir curiad i dri chwarter a dwy wythfed curiad ysgrifenir ef | r .,m f : a gelwir ef TA-effene. Pan y mae curiad yn cael ei ranu i dair wythfed ac wythfed, a haner curiad, ysgrifenir ef | d,r.-m : a gelwir ef ta-ANATE. Pan renir curiad i haner curiad o barhad, a thair haner-chwechfedau ysgrifenir ef : - .fmr | a gelwir ef -ATerele. Mewn cerddoriaeth offerynol, yn enwedig ar gyfer llinynau, y mae weithiau yn angenrheidiol i ranu curiad i lai na'r wythfed, pan y mae yr un sain i gael ei ail adrodd yn bur gyflym; yn yr amgylchiad hwn yr ydym yn rhoddi cynifer o ddotiau uwch ben y nodyn ag sydd o ranau i ba rai y mae i gael ei ranu. Yn y cysodiad offerynol o "Haleliwia i'r Tad," allan o "Fynydd yr Olewydd," gan Beethoven, yr ydym yn cael curiad yn cael ei ranu i chwech ac un arall i naw; ysgrifenid hwynt fel hyn : .sltd'r'm' | m'r'd'tlsfmr ||. Ond nid oes genym enwau ar y fath fan raniadau mewn amser. Mae yr engreifftiau anghyffredin hyn o fan raniadau mewn amser yn gofyn ymchwiliad manwl cyn eu canu, yn yr hen nodiant yn gystal ag yn yr eiddom ni. Fe ganfyddir nad yw y Tonic Sol-fa yn rhanu y curiad yn fanach nag i wythfedau ac y mae yn dynodi y rhaniad hwnw yn syml trwy absenoldeb marc. Y mae yr arferiad achlysurol o ysgrifenu yn yr Hen Nodiant ddau fesur fel pe byddent yn un (Gwel "Beth ydyw curiad?" tu dal. 70) yn ei wneyd yn anghenrheidiol *yn y Nodiant hwnw* i gael rhaniadau manach ar y curiad. Yr ydym ni yn nodiant y Tonic Sol-fa yn y cyfryw ddarnau yn rhoi dau fesur am bob un yn yr Hen Nodiant. Yr ydym yn cael mewn ymarferiad fod y dull hwn o ysgrifenu yn sirchau dirnadaeth mwy parod a chadwraeth mwy cywir ar yr amser.

## DY YSBRYD DI.

*Gebhardi.*

Ym. 233. Cy. E♭. M. 96. Y geiriau gan E. R.




*Cyf. Saf. (New).*




## I DDUW BO'R CLOD.

Ym. 234. CY. D. M. 26. *Rinck.*




*Cyf. Saf. (New.)*




## BYDD YN DIRION.

Ym. 235. cy. B♭. M. 96. *J. Mainzer.*




*Cyf. Saf. (New.)*




## CWESTIYNAU AR GYFER ARHOLIAD YSGRIFENEDIG NEU LAFAR.

### ATHRAWIAETH.

1. Desgrifiwch eich llais eich hun Beth ydyw ei gwmpas hawdd—ei ansawdd a'i swm yn mhob rhestr—ei fan goreu ? Wrth ba enw y gelwir ef ? Tu dal. 87.

2. O dan ba enw y mae y cord 7S yn cael ei guddio trwy nodiant, mewn trawsgyweiriad diweddebol i'r cyweirnod llon cyntaf ? Pa fodd y mae yr un cord yn cael ei guddio mewn trawsgyweiriad yn pasio i'r cyweirnod lleddf cyntaf ? Pa fodd y gwyddoch pan y mae y cordiau 7fe R, a taD 'yn drawsgyweiriadol, a phan y maent yn gromatig ? Tu dal. 89.

3. Beth ydyw y tri phrif bethau sydd yn dwyseiddio effaith feddyliol seiniau neillduol mewn ton ? Tu dal. 88.

4. Pan y mae ryw sain arbenig yn y raddfa yn cael ei phwysleisio mewn ton, neu ran o don, pa fodd y mae y ffaith yma yn cael ei ddesgrifio mewn geiriau, ac yn mha barthau o'r byd y mae cerddoriaeth y moddau yn cael ei arfer eto yn yr amrywiaeth mwyaf ?

5. Pa rai ydyw y moddau sydd a thrydydd mwyaf uwchlaw eu prif sain neu donydd—pa rai ydyw y rhai gyda thrydydd lleiaf ? Allan o'r moddau mwyaf pa un sydd yn cael ei ddefnyddio bron yn gwbl yn mysg cenhedloedd gorllewinol ? O'r moddau lleiaf pa un sydd yn cael ei ddefnyddio bron yn gyfangwbl mewn cysylltiad â chynganedd diweddar ? Desgrifier y cyfnewidiadau hanesyddol drwy ba rai y mae y don Dundee neu Windsor wedi pasio. Beth ydyw effaith feddyliol dygiad i mewn y *se* ? a pha beth ydyw yr anhawsder y mae yn ei beri, yn neillduol yn y don hon, i'r canwr ?

6. Pam y mae y modd Ray yn arbenig o gyfaddas i addoliad ? Pa beth ydyw y diweddeb neillduol sydd yn gwahaniaethu y modd Ray oddiwrth y modd Lah ? Tu dal. 91.

7. Beth yw prif egwyddor cynghanedd diweddar ? Yn mha ystyr y mae gan y modd Doh well cordiau i'w Donydd, Llywydd, ac Islywydd nag unrhyw fodd arall ? Pa fath gord y mae y glust yn ei wrthod pan y mae dau o'r cyfryw gordiau yn digwydd yn olynol yn mysg pedwar cord olaf diweddeb ?

8. Pa fodd y darfu i'r cynghaneddwyr cyntaf ddod dros yr anhawsder o dri o gordiau lleiaf yn niweddeb y modd Lah ? Beth sydd yn awr yn cael ei ystyried y trefniad mwyaf boddäol i ddwyn i mewn amrywiaeth yn y diweddeb hwn ? Tu dal. 94.

9. Pa le y mae y sain *Bah* yn sefyll, a pha berthynas sydd rhyngddi â *Se* ? Pam y dygir hi i mewn ? Pa sawl sain ddewisiadol sydd yn y modd lleiaf diweddar ? A pha un o honynt a ddefnyddir fynychaf ?

10. Desgrifier y chwe phrif anhawsder sydd yn codi i'r canwr trwy ddygiad i mewn *Se* a *Bah* yn y modd lleiaf ? Tu dal. 94.

11. A defnyddio y geiriau Tonydd, Llywydd, Ardonydd, &c., i ddynodi "Cordberthynas" beth ydyw cordberthynas y *L* lleiaf ?—*D* lleiaf ?—*se M* ? —*T* lleiaf ?—*Se* ?—*Bah* a *F* ?—*R* lleiaf ? Pa fodd yr ydym yn gwahaniaethu enwau cordiau y lleiaf oddiwrth y mwyaf mewn ysgrifen, a pha fodd yr ydym yn eu gwahaniaethu mewn siarad ?

12. Beth a olygir wrth y gair Moddnewidiad ? Beth ydyw y moddnewidiadau mwyaf cyffredin o'r mwyaf i'r lleiaf, ac o'r lleiaf i'r mwyaf ? Tu dal. 94.

13. Beth a feddylir wrth Foddnewidiad trawsgyweiriadol ? Beth ydyw y cyfnewidiad mwyaf cyffredin o'r natur hwn, a pha sain wahaniaethol newydd y mae yn ei dwyn i mewn ? Pa gyfnewidiad arall o'r natur hwn sydd yn gyffredin, a pha sain wahaniaethol y mae yn ei dwyn i mewn ?

*Cyf. Saf. (New).*

14. Beth ydyw ystyr y gair Damweiniol, a pha fodd y mae seiniau Damweiniol yn cael eu dangos yn Nodiant y Tonic Sol-fa? Tu dal. 95.

15. Desgrifier chwech o engreifftiau o leddfnodau a llonnodau tra anghyffredin, gyda'r enwau o roddir arnynt.

16. Beth ydyw'r arferiad sydd i'w osgoi yn benaf mewn treithgan? Tu dal. 101.

17. Wrth farcio darnau i'w datganu [*recite*] beth ydyw y peth cyntaf y mae yr efrydydd i'w wneyd, a pha rai ydyw'r beiau y mae i'w hosgoi wrth wneyd hyny?

18. Beth ydyw y gwahaniaeth mawr rhwng datganiad [*recitation*], a diweddeb treithgan? Pa fath guriad ddylai bob amser ddod ar ol terfyniad y diweddeb? Pa berthynas ddylai fod rhwng cyflymdra y sain ddatganiadol ac eiddo y diweddeb?

19. Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng mydrau siarad cyhoeddus, ac ymddyddan cyfrinachol?

20. Wrth ddewis treithganau, pa rai ydyw y ddau ddiffyg a ddylai arwain y dechreuwr canu i wrthod rhai o honynt?

21. Pa rai ydyw prif elfenau mynegiant mewn cerddoriaeth? Pa rai ydyw diffygion cyffredin cantorion, y rhai nad ydynt yn efrydu mynegiant? Tu dal. 102.

22. Pa beth ydyw y prif arferiad sydd i gael ei ffurfio wrth roddi allan seiniau? Ac am ba sain y dylem wrando yn ein llais ein hunain?

23. Wrth ba enw y mae "tarawiad" da ar y llais yn cael ei ddesgrifio? Rhodder egluriadau o'i bwysigrwydd. Desgrifier yn gyffredinol y teimladau corfforol sydd yn cydfyned âg ef yn y *larynx* a'r genau. Tu dal. 102.

24. Pa fodd y mae yr anadl a'r beudag yn actio gyda'u gilydd yn y tarawiad clir? Yn y tarawiad graddol neu anadliol? Yn yr ataliad? Yn yr herc? Yn y llithren? Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng y llithren â'r ymlithriad?

25. Beth a olygir wrth ollyngiad clir sain a pha bwys sydd ynddo?

26. Desgrifier y dull y dylai yr athraw ddwyn i mewn ei Ymarferiadau cyntaf ar raddau nerth? Tu dal. 103.

27. Beth ydyw yr enwau a'r arwyddion am sain hir, neu frawddeg yn chwyddo mewn nerth? Yn lleihau mewn nerth? Yn chwyddo ac wedi hyny yn lleihau?

28. Desgrifier y seiniau Dirwasgol ac Ergydiol.

29. Desgrifier yr arddulliau Staccato, y Dadgysylltiol, a'r Legato.

30. Beth ydyw y ddwy ystyriaeth sydd yn benaf yn ein harwain wrth gymhwyso graddau amrywiol o nerth at gerddoriaeth?

31. Pa fodd y mae ei fod yn bosibl i ddosbarthiadau fyned yn mlaen i ganu llawer iawn o gerddoriaeth heb eu bod mewn gwirionedd yn dysgu dim?

32. Pa bethau mewn ton sydd i'w hystyried gyda'r amcan o benderfynu pa un a ddylai hi gael eu chanu yn gryf neu yn wan, neu gyda gradd gymhedrol o'r llais? Tu dal. 105.

33. Pa fodd y dylid canu gwir *piano*?

34. Pa fodd y dylid canu gwir *forte* dirgryniadol?

35. Beth ydyw brawddegu? Dangoser ei bwysigrwydd. Enwer dau neu dri o ffyrdd yn y rhai y gellir marcio ymaith frawddegau cerddorol, a'u gwahaniaethu gan y canwr.

36. Beth ydyw y ffurf oreu o nerth yn gyffredin mewn brawddegau esgynol, a phaham?

37. Beth yn gyffredin ydyw y ffurf oreu o nerth mewn brawddegau disgynol, a phaham?

38. Pa fodd y dylid canu seiniau mynychol, a phaham?

39. Pa fodd y dylid canu seiniau parhäol sengl, a phaham?

40. Pa un ydyw y ffordd oreu i "osod allan" efelychiadau cerddorol mewn melawd? Tu dal. 107.

41. Sut y dylai dyfodiad "rhan" i mewn ag oedd o'r blaen yn ddistaw, gael ei drin?

42. Yn mha ddau amgylchiad y dylai unrhyw ran mewn cerddoriaeth fod yn isel ac israddol?

43. Pa fodd y dylid canu y cyfeiliant?

44. Desgrifier y tair ffordd o gynnyrchu yr hyn a elwir yn gyfeiliant mwmianol. Beth ddylid sylwi arno yn neillduol yn efelychiad seiniau naturiol?

45. Beth ydyw seiniau y raddfa sydd yn fwyaf cydnaws â thon gyflym a chyffrous, a pha rai a thon araf a difrifol? Yn mha fanau ar ei lais y mae pob canwr yn alluog i beri ei fod yn cael ei glywed yn fwyaf effeithiol yn nghanol y gynghanedd? Tu dal. 109.

46. Os yn y gynghanedd, y caiff y canwr fod sain mewn rhan effeithiol o'i lais yn gydnaws a'r teimlad y mae yn ei ganu, sut y mae i'w gosod allan?

47. Sut y dylid canu brawddegau cyflym, a chanredau, a phan y mae y cyfryw ddarnau yn cael eu canu mewn cydgan, pa beth y mae o bwys i sylw arno? Yn nhriniaeth yr anadl ar gyfer canred, pa bwynt y mae y canwr i sylvi arno ar y dechreu ac yn y diwedd?

48. Pa fath o deimlad a ddangosir yn naturiol gan y sain ergydiol, a pha fath gan y sain ddirwasgol? Pa un o'r ffwrfiau hyn o seiniau ydyw yr eithafiad o'r ffurf *Legato*, ac i ba un o honynt y mae y *Staccato* yn naturiol yn tori allan? Tu dal. 110.

49. Yn mha ddull y dylid canu darnau cyfunseiniol, a pha beth a ddylai pob canwr ymdrechu ei wneyd?

50. Yn mha arddull y dylid canu diweddebau, a phaham?

51. Pa fodd y dylid canu seiniau gwahaniaethol, a phaham?

52. Pan fyddo anghydseiniau, beth ddylai pob canwr ei wybod mewn perthynas i'w ran ei hunan? Pa fodd y dylid canu y sain wrthddaliadol, a pha fodd y frawddeg sydd yn cynwys yr anghydsain? Tu dal. 111.

53. Pam y mae yn anhawdd dadelfenu mydr darnau yn y rhai y mae efelychiadau canredol? Beth ydyw yr enw a roddir ar efelychiad canredol a glybuwyd o'r blaen, ond sydd yn awr yn dilyn yr arweiniad yn gynarach? Tu dal. 112.

54. Desgrifier rhestr uchaf lleisiau merched. Enwer y graddeg neu 'r uchder y maent yn pasio iddo. Beth ydyw enw y rhestr yma? Pam y dylai lleisiau y Contralto yn gyffredin ymgadw rhag ei arfer? Tu dal. 113.

55. Beth ydyw yr uchder mwyaf y mae cydganau clasurol yn gofyn i'r lleisiau Soprano ei ganu? Beth ydyw yr uchder mwyaf a ddylid ei arfer mewn corau eglwysig lle nad yw y gynulleidfa yn ymuno? Beth ydyw yr uchder mwyaf a ellir ei ddisgwyl oddiwrth gynulleidfaoedd?

56. Pa fath lais a gaiff y bydd yn rhyddhad iddo ganu un-T [T'] yn y rhestr lleiaf?

57. Desgrifier toriadau lleiaf y llais. Pa fodd, ac ar ba uchder sain y mae y rhai hyn yn cael eu dangos ar leisiau merched? Pa fodd ar leisiau meibion?

58. Pa restrau a arferir yn gyffredin gan feibion mewn siarad cyffredin, a pha un gan ferched? Beth ydyw canlyniad yr arferion hyn ar y llais mewn canu?

59. Beth ydyw peirianwaith y Rhestr Dew Isaf, a pha deimlad corfforol a brofir wrth eu cynyrchu.

60. Beth ydyw peirianwaith a theimlad y Rhestr Dew Uchaf?

61. Beth ydyw peirianwaith a theimlad y Deneu Isaf?

62. Beth ydyw peirianwaith a theimlad y Deneu Uchaf?

63. Beth ydyw peirianwaith a theimlad y rhestr fechan?

64. Pa bethau sydd yn nodadwy yn lleisiau bechgyn, wrth eu cydmaru a

lleisiau merched? Pa gwrs a ddylid ei gymeryd ar "gyfnewidiad y llais?"

65. Enwer y pedair "prif ran" i ba rai y mae lleisiau yn cael eu dosbarthu yn gyffredin. Pa ranau ereill a ofynir weithia? Tu dal. 116.

66. Enwer y dull yn mha un y mae lleisiau yn cael eu chwilio a'u croniclo.

67. Beth yw teithi y Soprano cyntaf? Beth yr ail Soprano?

68. Beth yw teithi y Contralto cyntaf? Beth yr ail?

69. Beth yw teithi y Tenor cyntaf? Beth yr ail? Gan ba ddosbarth o leisiau meibion yr ydym yn cael y seiniau mwyaf hyfryd yn y rhestr deneu uchaf? Rhodder dau reswm cryf paham na ddylai lleisiau y Bass ddefnyddio y rhestr yma?

70. Beth ydyw teithi y Bass cyntaf? Beth yr ail?

71. Beth ydyw y ddau reswm pam, wrth ddosbarthu lleisiau, nad ydys yn cymeryd cwmpas y llais i'n harwain? Yn mha ran gorawl, megis yn Nghydganau Handel, y mae lleisiau meibion a merched yn cytuno, gan ganu yr un seiniau? Beth yn gyffredin ydyw sain uchaf y tenor cyntaf mewn cerddoriaeth i leisiau meibion, a'r isaf yn yr ail fass? Beth yn gyffredin ydyw sain uchaf y Soprano uchaf, ac isaf yr ail Contralto?

72. Enwer yr holl achosion o fewn eich gwybodaeth o fod y llais yn "gostwng." Enwer y pethau a dybiwch chwi fydd yn debyg o atal, arafu, neu ei wella. Tu dal. 118.

73. Marcier uwch ben Ym. 118 hyd 191, 193, 195, enwau Solffayddol y seiniau dewisiadol sydd wrth ewyllys llais Tenor—marcier hefyd y lleoedd y tybiwch yn fuddiol i newid y rhestr.

74. Yn mha amgylchiadau y mae llawer o ganwyr yn ffurfio yr arferiad o newid y rhestr bob amser ar yr un sain o ran uchder? Yn mha amgylchiadau y dylai y lleisiau ereill, heblaw lleisiau Tenor edrydu yn fanol eu seiniau dewisiadol?

75. Beth ydyw prif ddefnydd chwechfedau, wyth fedau, a nawfedau curiad mewn cerddoriaeth? Pa fodd yr enwir ac yr ysgrifenir wythfed rhan o guriad. Pa fodd y mae y trydydd chwechfedau o guriad yn cael eu henwi a'u hysgrifenu? Pa fodd y mae nawfedau curiad yn cael eu henwi a'u hysgrifenu? Tu dal. 119.

76. Rhodder yr amser-enwau i'r nodau canlynol :—

:t , l.-,s ‖ :r . ,m f ‖

8

:d ,-r .m ‖ :- .f m r ‖

## YMARFERIAD.

77. Dalier sain aroesol âg un anadl am bedair eiliad ar hugain.

78. Caner gyda sain blaen-eneuol prydferth ar y *La* Eidalaid. Ym 176.

79. Dadelfener Cynghanedd un o'r Ym. 177, hyd 179, pa un bynag a ddewiso'r athraw.

80. Rhodder esiampl wahanol i'r un a nodir, o fwy o arbenigrwydd yn cael ei roddi i effaith feddyliol sain trwy aceniad—trwy ddiweddeb—trwy gyfrwng isbumed neu isbedwerydd.

81. Ysgrifener o'r cof, neu caner y gwahanol ddulliau o'r don Dundee a rodder. Tu dal. 91.

82. Tyner, o'r cof y darlun sydd yn dangos y gwahaniaeth rhwng y modd Lah a'r modd Ray. Ysgrifener a chaner y don Nowell yn y modd Ray, a hefyd yn y modd Lah.

83. Läer oddiwrth bwyntiad yr athraw ar y Modulator, yr holl Ymarferiadau a roddir yn y frawddeg "Anhawsderau y Canwr." Tu dal. 93.

84. Enwer seiniau y Modd Lah sydd yn perthyn i'r Cordberthynasau canlynol: Tonydd, Islywydd, Llywydd, ardonydd, sain arweiniol, Isganolydd, Canolydd.

85. Elfener unrhyw un o'r treithganau o Ym. 181, hyd 186, a ofynir gan yr athraw.

86. Noder esiamplau, heb orfod chwilio am danynt, o foddnewidiad i'r lleiaf perthynasol, ac o foddnewidiad i'r mwyaf perthynasol. Tu dal. 92.

87. Noder esiamplau heb orfod chwilio am danynt, o foddnewidiad trawsgyweiriadol i leiaf perthynasol y cyweirnod lleddf cyntaf, ac i leiaf perthynasol y cyweirnod llon cyntaf.

88. Caner, gydag amser, sain, a mynegiant cywir un o'r Ym. 188, hyd 195, a ddewiser gan yr athraw.

89. Tataer ar un sain ddatganiadau Ym. 177 a 178.

90. Marcier y darnau canlynol o'r Ysgrythyr er diweddeb a datganiad.—Sal. 1, 8, 20, 84, 93, 96, 149, Es. 12.

91. Caner y llafariaid *a*, *e*, ac *i* gymaint yn mlaen yn y genau ag sydd modd, a chyda'r sain buraf a ellwch ei gynyrchu. Tu dal. 101.

92. Caner y llafariad *a* gyda tharawiad chir — gyda tharawiad anadliol neu raddol—gyda'r ataliad—gyda'r herc —gyda'r tarawiad llithriadol.

93. Caner y llafariad *a*, a therfyner ef gyda gollyngiad clir. Tu dal. 103.

94. Eler trwy unrhyw un o'r Ym. 197, hyd. 201, a ddewiso'r athraw.

95. Dewiser o'r cof a chaner darn Crescendo—darn Diminuendo a darn yn chwyddo. Tu dal. 104.

96. Caner Ym 202.

97. Dewiser a chaner brawddeg gyda seiniau Scaccato, a seiniau anghysylltiol.

98. Dewiser a chaner brawddeg *Legato*.

99. Caner sain gyda nerth canolog y llais—forte—piano: gyda pha radd o nerth y dylid canu y darnau canlynol trwy y rhan fwyaf o'u hyd? Ym. 134, 141, 144, 188, 192, 194.

100. Dewiser a chaner brawddeg gyda gwir piano egniadol. Tu dal. 105.

101. Dewiser a chaner brawddeg gyda forte clir dirgryniadol.

102. Eler trwy unrhyw un o Ym. 204, hyd, 210, a ddewiso yr athraw, yn ei bresenoldeb.

103. Dewiser a chaner brawddeg esgynol mewn dull priodol. Tu dal. 106.

104. Dewiser a chaner brawddeg ddisgynol, gyda mynegiant priodol.

105. Dewiser a chaner gyda mynegiant priodol, esiampl dda o seiniau ailadroddiadol.

106. Dewiser a chaner esiampl dda o sain barhaol sengl.

107. Dewiser a chaner esiampl dda o efelychiadau mewn melodedd.

108. Dewisur a chaner esiampl dda yn yr hon y mae dyfodiad arbenig rhyw "ran" yn ofynol.

109. Dewiser esiamplau o israddoliad rhanau, cyfeiliant mwmianol, a seiniau efelychiadol.

110. Eler trwy unrhyw un o'r Ym. 211, hyd, 214, a ddewiso yr arholydd, yn ei bresenoldeb.

111. Eler trwy un o'r Ym. 222—225, a ddewiso'r arholydd.

112. Eler trwy un o'r Canredau a

ddewiso'r holydd, a enwer yn y paragraff "Brawddegau Cyflym," mewn dull priodol, a chyda thriniad priodol ar y llais.

113. Dewiser a chaner esiampl dda o'r sain Ergydiol a Dirwasgol.

114. Caner brawddeg gydleisiol gyda rhyw un llais arall mewn cymhlethiad perffaith ac unffurfiaeth tarawiad.

115. Dewiser a chaner diweddeb mewn dull priodol.

116. Dewiser a chaner diweddeb tair esiampl wahanol o seiniau gwahaniaethol.

117. Dewiser a chaner dwy esiampl wahanol o anghydseiniau, yr athraw yn dal y sain wrthddaliadol.

118. Desgrifier a dadelfener Ym. 194, 196 neu 197, pa un bynag a ddewiso'r athraw.

119. Os Soprano ydyw eich llais, caner dwy sain, o leiaf yn y Rhestr fechan.

120. Dangoser, trwy ganu, le y toriad neu doriadau lleiaf yn eich llais eich hun, a pha ran neu ranau o'r gerddoriaeth y gellwch eu canu oreu.

121. Os llais tenor neu Contralto sydd genych, marciwch yn mhresenoldeb yr holydd, y seiniau dewisiadol, a'r lleoedd goreu i newid, yn unrhyw un o'r Ym. 170 hyd 175, a ddewiso efe.

122. Dyweder wrth eich athraw beth ydyw enwau Solffayddol eich seiniau dewisiadol, yn nghyweirnod C—F—B lleddf—E lleddf—G—D—A.

## YMARFERIADAU MEWN DARLLEN ALLAN.

NODIAD.—Gellir defnyddio TA ar ei ben ei hun am guriad llawn, ac ar ol y mesur cyntaf, nid ydyw yr aceniadau o angenrheidrwydd yn cael eu marcio gan R and L. Sylwer hefyd ar farciau wythodol tu dal. 31.

**Ym. 236.** Ysgrifener mewn amser cywir TRAteffe d, r, m,—TATE f, m,—TLA r,—TA d, a traffaTE, d, r, m, —taffaTE r, m, f,—TLATE m, r,—TA d.

**Ym. 237.** TRA-effe s, f,—TA-effe m, r,—TLA d —TA t-un—TA-efe l-un—TAteffe d, t-un d,—TA r,—TA d.

**Ym. 238.** Traffateffe d, r, m, f,—TATE s, m,—TLATE, l, s,—TA un-d,—taffateffe un-d, t, l, s,—taffateffe f, m, r, d,—TATE s, s-un—TA d.

**Ym. 239.** TRATE d, r,—TA*SE* m, TLATE f, s,—TA*SE* l,—*SA*TE s, TATE s, s,—TA d.

**Ym. 240.** TRA s,—*sa*ffateffe l, s, l, taffateffe f, s, f, s,—traffaTE m, r, d ; a TRATE d, m, tatete r, m, f, TATE m, d,—*sa*teti s, f, tateti m, r, d, TATE r, d.

**Ym. 241.** *SA*TE s,—traffaTE m, f, s,—*SA*TE s,—traffaTE l, t, un-d,—*SA*TE s,—TATE f, m,—TA-effe r, d,—TA d.

**Ym. 242.** *SA*TE d,—tra-eti m, r,—ta-eti d, t-un —tateti, l-un, t-un, d,—TRA-E-A-E s.

# Y CHWECHED GRIS.

*Parhad o ymarferiadau y Fron, Seiniadaeth bur a Thonyddiaeth. I ganfod Ffeithiau Anianyddol, ac effeithiau meddyliol Dau. Symudiad mewn Traws-gyweiriad, ac i ganu y cyfryw drawsgyweiriad. I ganfod Ffeithiau Anianyddol ac Effeithiau meddyliol Tri Symudiad, ac i ganu y cyfryw Drawsgyweiriad. I ddeall yr egwyddorion ar ba rai y mae amrywiol graddau nerth a chyflymdra yn gymhwysiadol at eiriau, ac i wneyd defnydd o honynt. I ymarfer mewn brawddegiad geiriau. I ddeall Prif Ffurfiau Cerddoriaeth Leisiol. I ddeall yr Adseiniadau a'u defnydd. I arfer y llais, i'w gryfhau a'i ystwytho.*

**Ymarferiadau y Fron, Seiniadaeth bur a Thonyddiaeth.**—Dylai ymarferiadau i gryfhau y fron, i amaethu seiniadaeth bur a phrydferth, ac i gael tonyddiaeth gywir y llais, y naill gyda'r llall, gael eu parhau ar ddechreu pob gwers.* Bydd y gwahanol ymarferiadau lleisiol yn nechreu y Gris diweddaf, a'r treithganau yn y modd lleiaf, mewn tair rhan, yn ateb y dyben yn dda. Fe ddewisa yr athraw y cyfryw fath o ymarferiad ag y canfydd ei ddosbarth mewn angen am dano. Bydd y "Mur-leni" yn galluogi yr athraw i ddefnyddio ymarferiadau lleisiol mwy dyrus, tra yn ei adael at ei ryddid i gerdded yn mysg rhengau ei ddosbarth, ac arolygu ystum a thafliad allan y llais gan bob dysgybl.

**Dau Symudiad.**—Y mae trawsgyweiriadau i'r cyweirnod llon cyntaf neu y cyweirnod lleddf cyntaf yn drawsgyweiriadau o un *symudiad.* Ond y mae y gerddoriaeth yn fynych yn pasio dros gyweirnod y symudiad cyntaf, at gyweirnod ei symudiad cyntaf *ef:* yr ydym yn galw hwn yn drawsgyweiriad o *ddau symudiad.* Fe wna'r athraw arwain ei ddysgyblion i sylwi ar y ffeithiau anianyddol yn nglyn â'r symudiadau hyn. Yn gyntaf hwy sylwant fod yr ail gyweirnod *llon* yn codi y cyweirsain, a chydag ef yr holl gerddoriaeth un cam cyfan—ei fod yn blotio allan **f** a **d** yr hen gyweirnod, ac yn dwyn i mewn yn eu lle **m** a **t** y cyweirnod newydd, fel y nodir yn yr arwyddnod *(signature)*, ac o'r ddwy sain wahaniaethol, mai **t** ydyw y bwysicaf, am ei bod yn gwahaniaethu yr *ail* symudiad llon oddiwrth y cyntaf. Yn ail hwy a sylwant fod yr *ail* gyweirnod *lleddf* yn gostwng sain y cywair, a'r holl gerddoriaeth gydag ef, un cam cyfan, ei fod yn blotio allan y seiniau (y rhai a ddygwyd i mewn gan y symudiad llon) sef **y t a'r m**, a'i fod yn dwyn i mewn i'r cyweirnod



newydd y seiniau (y rhai y darfu i'r symudiad llon eu blotio allan), sef **d a f**,—ac o'r ddwy sain wahaniaethol hyn, mai y **f** ydyw y fwyaf pwysig, gan ei bod yn gwahaniaethu yr ail symudiad lleddf oddiwrth y cyntaf. Bydd y ffeithiau anianyddol hyn yn darparu y meddwl i sylwi, yn yr ymarferiadau sydd yn canlyn, fod yr ail symudiad llon, gyda'i **d** wedi codi, a'i **t** effeithiol, yn fwy mynegiadol o deimlad dyrchafol na'r cyweirnod llon cyntaf,—fod yr ail symudiad lleddf, gyda'i **d** wedi gostwng, a'i **f** effeithiol yn fwy mynegiadol o ddifrifwch ac iselder na'r symudiad lleddf cyntaf. Cymharer tu dal. 51. Anaml y mae trawsgyweiriad o ddau symudiad o'r prif gyweirnod (prif drawsgyweiriad) yn cael ei ddefnyddio oddigerth er mwyn efelychiad a dilyniad. Nid peth anfynych ydyw trawsgyweiriad o ddau symudiad oddiwrth y cyweirnod israddol (nid y prif), ac os ydyw y trawsgyweiriad yn un oddiwrth gyweirnod y llywydd i'r islywydd, neu i'r gwrthwyneb, y mae yn gyffredin yn bur hawdd i'w ganu. Y mae y math hwn o "ymsigliad" ar draws y cyweirnod gwreiddiol, yn cadw y cyweirnod hwnw mewn cof, ac yn lleihau effaith cryf y ddau symudiad. Gwel "Pa fodd i sylw ar Gynghanedd," tu dal. 00, a'r "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth," tu dal. 111.

**Yr Ymarferiadau.**—Dylid myned trwy y ddau ymarferiad canlynol gyda gofal mawr, a dysgu pob brawddeg yn cynwys trawsgyweiriad trwy gynllun oddiwrth y Modulator. Nid oes dim geiriau wedi eu darparu, fel y gellir talu sylw yn hollol i'r gwahanol bethau dyrus yn y trawsgyweiriadau. Dylid sol-ffeio pob rhan yn gyntaf, ac yna ei läio yn glir. Os bydd rhyw anhawsder yn codi wrth ddysgu y rhanau, y mae yn arferiad da i ddysgu brawddeg gyntaf y *cyweirnod newydd* ar wahan, cyn ymgais at y trawsgyweiriad, oblegid pan y mae y dysgybl yn gwybod pa peth sydd ar ochr arall y bont, y mae yn croesi yn fwy gwrol. Y mae y dull hwn o ddwyn i mewn drawsgyweiriad yn fwy pwysig fyth, pan y mae y rhanau yn cael eu canu gyda'u gilydd. Gellir rhoddi help mawr i'r dysgyblion trwy ddangos iddynt ar y Modulator

y cyfrwng neu gyfryngau anhawdd cyntaf y mae y seiniau gwahaniaethol cyntaf yn eu creu, a thrwy gydmaru y cyfryngau hyn â rhai ereill, y rhai y mae y glust yn fwy cyfarwydd â hwynt. Ni ddylai y dysgybl gwyno oherwydd unrhyw ofal amyneddgar sydd yn angenrheidiol i feistroli y trawsgyweiriadau hyn, oblegid y mae y cyfryw drawsgyweiriadau yn digwydd yn mhob gwaith clasurol, ac weithiau yn bur fynych. Trwy efrydiaeth dda ar y Modulator, gydag ymarferiad meddylgar ar ei lais, nid yn unig fe ddysga y tonau hyn yn neillduol, ond fe ganfydda y ffordd i feistroli anhawsderau cyffelyb mewn cerddoriaeth arall.

Yn Ym. 245 y mae'r trawsgyweiriad i'r ail gyweirnod llon yn dod yn hawdd mewn cydmariaeth, pan y mae y dysgybl yn sylweddoli yr efelychiad manwl sydd yn yr holl ranau. Fel y sylwyd eisioes, t ydyw y mwyaf pwysig o'r ddwy sain wahaniaethol. Os bydd i'r drydedd ran ei tharo yn gadarn ac ar unwaith, bydd gan yr ail ran ond ychydig o anhawsder. Wrth ddysgu y rhanau ar wahan, nid ydyw y glust yn cael ei gynorthwyo gan gynghanedd i sefydlu y cyweirnod newydd, bydd yn dda, gan hyny i ddangos ar y Modulator, beth yw'r nodau yn yr hen gyweirnod. Fel hyn byddai gan y drydedd ran **de l, r**, a'r ail ran **m de r**. Teimlir fod yr ail sain wahaniaethol **m** dippin yn llon, ond anaml y teimlir hi yn anhawdd. Dylid olrhain hyn ar y Modulator.

Yn Ym. 246 y mae anhawsder y "prif" drawsgyweiriad o ddau symudiad, yn cael ei leihau trwy efelychiad. Mae yr ail sain wahaniaethol yn dod i mewn gyntaf, ac y mae yr ail ran yn taro y sain wahaniaethol gyntaf a mwyaf pwysig. Pan glywir yr ail sain wahaniaethol gyntaf, mae y trawsgyweiriad yn haws ei ganu. Y mae yn debyg i fel pe cymerid un symudiad ar unwaith, Ond y mae yr ail amgylchiad, sef y ddau symudiad israddol a sigledig yn mesur 9, yn fwy anhawdd ei ganu, gan nad oes yr un help oddiwrth efelychiad, ac yn ail am fod y sain wahaniaethol gyntaf yn cael ei ddwyn i mewn yn gyntaf. Y mae i'r trawsgyweiriad nesaf efelychiad perffaith, nodyn am nodyn, yn yr ail ran; ac yn y rhan gyntaf y mae efelychiad hollol o ymdoniad melodaidd y frawddeg flaenorol un cam yn is. Y frawddeg olaf fyddai **r f m r** (dau symudiad lleddf ychwanegol), pe na byddai wedi ei chynganeddu yn gromaticaidd, ac felly yn cael ei chadw yn y cyweirnod gwreiddiol.

Ceir engreifftiau ereill yn yr "Ymarferiadau Ychwanegol," tu dal. 65 o efelychiad, tu dal. 68 a 72, o ymdoniad, ac i roddi effaith i'r trawsgyweiriad nesaf, a thu dal. 83 moddnewidiad trawsgyweiriadol i'r lleiaf, er mwyn effaith neillduol, ac i baratoi effaith.

**Ym. 243.** cy. F.

```
|m   :m.f  |s    :s     |d    :r     |m  :-  |l    :t   |d'   :m  |r   :-  |d  :-  |
|d   :d    |t,.r :d.t,  |l,.d :-.t,  |d  :-  |f    :f   |s    :d  |d   :t, |d  :-  |
|d   :d.l, |s,   :m,    |f,.l,:s,    |d  :-  |f.m  :r   |m.r  :d  |s,  :-  |d  :-  |

                     G.t.m.                     f.C.
|s   :r   |m  :-  |l s   :r   |m  :-  |f d'   :s  |l .t  :d'   |
|r   :t,  |d  :-  |m r   :t,  |d  :-  |d s    :m  |f     :s .m |
|t,  :s,  |d  :-  |de t, :s,  |d  :-  |l,m .r :d  |f .r  :m .d |

                     f.F.
|r'  :-   |d'  :-  |r'l  :t   |d'  :m   |r  :-   |d  :-  ||
|f   :-   |m   :-  |taf  :f   |s   :d   |d  :t,  |d  :-  ||
|s,  :-   |d   :-  |taf  :r   |m   :d   |s, :-   |d  :-  ||
```

Ym. 244. CY. F. M. 70 *W. G. McN.*



## MAE'N BRAF CAEL BYW AR Y MYNYDD.

Ym. 245. CY. F. A. L. C.

Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf (New.)*




## SANCT, SANCT, SANCT.

Ym. 246. cy. C. *Telemann* (1750).




*Cyf. Saf. (New.)*













## NOS DAW'CH'.

A. L. C.

Ym. 247. cy. A. (I egluro seiniau cromaticaidd). Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*

*p*

| s :- .f \|m : | r :- .de \|r :re | m :- .r \|d :s, |
|---|---|---|
| dros - odd sy' : | Medd - wl taw - el | a gor-phwys - dra |
| nef - oedd fry | Lon - i gyd - a'u | sir - iol ol - eu |
| t, :- .t, \|d : | t, :- .le, \|t, :l, | se, :- .se, \|l, :m, |
| Hwn sydd fry ; | Tra'r wyt ti yn | taw - el gys - gu |
| hwn sydd fry | Ein ben-dith - io | ni a'n help - u |

*m* · *f* · *dim.*

| r :- .de \|r :re | m :- .r \|d :s, | s :- .fe \|s :m |
|---|---|---|
| Gaff - ot hen - o'n | dy or - wedd - fa, | Trwst y diwr - nod |
| 'Rhwn sy'n dis - gwyl | am y bor - eu. | Pryd - ferth yd - yw'r |
| t, :- .le, \|t, :l, | se, :- .se, \|l, :m, | m :- .re \|m :d |
| Ffydd - lon mae Ef - | e'n gof-al - u | Rhag i niw - ed |
| I fyn'd trwy ein | gwaith y for - u: | Dym - a i ni'n |

*p* · *pp*

| m :- .re \|m : | d :— \|d : | l, :- .s, \|s, : |
|---|---|---|
| dros - odd sy' : | Nos daw'ch', | gyf - aill cu ! |
| wybr - en fry. | Nos daw'ch', | gyf - aill cu ! |
| s, :- .fe, \|s, : | m, :- .re, \|m, : | f, :- .m, \|m, : |
| gwrdd a thi : | Nos daw'ch', | gyf - aill cu ! |
| gys - ur sy' : | Nos daw'ch', | gyf - aill cu ! |

## CAN Y NOS.

A. L. C.

Ym. 248. cy. B♭. Y geiriau gan E. R. Efel.

*p*

| : | : \| : | s :f \|m :— | m :r \|d :— |
|---|---|---|---|
| 1 Dwfn ddis | taw - rwydd sydd | Yn y llwyn, | yn y llwyn : |
| :m .r | d :t, \|l, :— | t, :t, \|d :— | s, :f, \|m, :— |
| 2. Yn y | Nef - ol wlad | Eng - yl gân, | Eng - yl gân. |

| :m \|m :— | m :— \|m :r | d .t, :d .l, \|se, :— |
|---|---|---|
| Nid oes | un chwa, Mae'n | daw - el ha' |
| Dim poen | na chur, Per - | or - iaeth bur |
| : \| :d | d .t, :d .l, \|se, :- .se, | l, .se, :l, .f, \|m, :- .m, |
| Nid | oes un chwa, Mae'n | daw - el ha', Heb |
| Dim | poen na chur, Per- | or - iaeth bur, Yn |

*Cyf. Saf. (New.)*

F.t.

| - .se₁ :l₁ .t₁ | d :t₁ | l₁ :— | — : .fe₁t₁ | d .,r :m | s :- .f,m
Heb un awl - el | fwyn. | Dis- | taw-odd holl ad - ar y
Yn mysg seint - iau | glan. | Fe | dder-fydd holl gan - u y
| m₁ :f₁ | m₁ :r₁ | d :— | — : | : .s,d | m .m :m .r,d
un aw - el | fwyn. | Dis-taw-odd ad-ar y
mysg seint - iau | glan. | Fedder-fydd can-u y

d.f.E♭.

| r :— | — : | : .ta d' | d' .d' :d' .t,l | se :— | — :
tir, | Dis-taw-odd ad-ar y | tir;
llawr, | Fe dderfydd canu y | llawr:
| t₁ :— | — : .l₁t₁ | d .,r :m | m :- .r,d | t₁ :— | — :
tir, Dis- | taw-odd holl ad - ar y | tir;
llawr, Fe | dder-fydd holl gan - u y | llawr:

*mf* *f* F.t.m.

| s :- .m .d' | s : | f :- .m .f | r : | l s :- .m .d' | s :
Tith - au ei | cyn hir, | Tith - au ei
| t₁ :- .d .m | m : | r :- .d .r | t₁ : | de t₁ :- .d .m | m :
Cyn pen hir | daw'r awr, | Cyn pen hir

*p* f.B♭.

| f :- .m .f | r : r l₁ | s₁ :- .s₁ | l₁ :t₁ | d :—
cyn hir Mewn | hun heb gur na | chwyn
| r :- .d .r | t₁ :ta₁f₁ | m₁ :- .s₁ | fe₁ :f₁ | m₁ :—
daw'r awr Na | dder - fydd byth ein | cân,

*rall.*

| — :s₁ | s₁ :- .fe₁.s₁ | l₁ :s₁ | s₁ :— | — ||
Mewn | hun heb gur na | chwyn.
| — :m₁ | m₁ :- .re₁.m₁ | f₁ :f₁ | m₁ :— | — ||
Na | dder - - fydd byth ein | cân.

*Cyf. Saf. (New.)*

**Tri Symudiad.**—Yr unig engreifftiau o dri symudiad ymron ydyw y rhai o dri symudiad *lleddf*, gyda moddnewidiad i'r *lleiaf*, neu o dri symudiad *llon*, gyda moddnewidiad i'r *mwyaf*. Yn yr amgylchiadau hyn y mae tebygolrwydd y rhan uchaf o'r ddau fodd yma i'w gilydd (**m ba se l a s l t d'**) yn gynorthwy i'r glust i basio drosodd o un cyweirnod i'r llall, yn enwedig os y ffurf hono ar y modd lleiaf ag sydd yn cynwys **bah** a ddefnyddir. Mae y trydydd symudiad lleddf yn fwy anhawdd i'w ganu, yn unig am fod y modd lleiaf i ba un y mae yn symud, yn un celfyddydol ac anhawdd ei hunan. Y trydydd symudiad llon ydyw y lleiaf anhawdd, am fod y modd mwyaf i ba un y mae yn symud yn fwy naturiol i'r glust. Mae y *Cyfnewidiadau Anianyddol* gan hyny, a wneir mewn tri symudiad yn amrywio gyda defnyddiad neu annefnyddiad y **bah** a'r **se**. Gallant fod yn fwy neu yn llai na'r rhai o ddau symudiad. Mae yr effeithiau meddyliol yn amlwg,—oblegid y mae moddnewidiad o'r mwyaf i'r lleiaf, a symudiad lleddf gyda'u gilydd, yn naturiol yn cynyrchu iselder pruddaidd ar y teimladau, ac y mae moddnewidiad o'r lleiaf i'r mwyaf yn cyfuno gyda symudiad llon i gynyrchu rhyw gyffroäd dieithr.

```
r  s  d  f'
         t  m' l  r  s
d  f
t  m  l  r' s  d  f
                  t  m
l  r  s  d' f
se       t  m  l  r
s  d  f
ba t  m  l  r  s  d
f        se       t
m  l  r  s  d  f
         ba t  m  l
r  s  d  f
         t  m  l  r  s
d  f
t  m  l  r  s  d  f
                  t  m
l  r  s  d  f
se       t, m  l  r
s  d  f
ba t  m  l, r  s  d
```

Yr Ymarferiadau.—Fe ddengys yr athraw i'w ddysgyblion ar y modulator, yn yr un modd ag y nodir uchod, nad ydyw y trawsgyweiriad yn Ym. 249 i'r trydydd cyweirnod llon, yn bur anhawdd, yn gyntaf am ei fod yn symud i'r modd mwyaf mwy adnabyddus a mwy naturiol, ac yn ail am fod yr *ail* sain wahaniaethol (**m**) yn dod i mewn gyntaf ar ol y *trydydd* (**l**) a'r mwyaf anhawdd (**t**) yn ddiweddaf oll. Wrth ddysgu pob rhan ar ei ben ei hun, byddai yn burion i'r drydedd ran gofio fod **f m** yr un peth a **r de** y cyweirnod blaenorol, ac i'r ail ran i sylwi fod **d' fe** yr un peth a **f t,**. Dylai yr holl ranau ddal y **d** ei hyd priodol er mwyn ei chael yn dda yn y glust cyn cymeryd y trawsgyweiriad newydd. Dylai yr adran yn Nghy. C gael ei hymarfer ar wahan cyn iddi gael ei huno â'r adran flaenorol yn E♭. Dylid gwneyd hyn hefyd â'r adran yn B♭, yr hon sydd yn anhawdd, gan ei bod yn symud yn sydyn o'r mwyaf i'r lleiaf celfyddydol. Er fod sain wahaniaethol yr ail symudiad (**f**) yn dyfod yn ddiweddar, nid ydyw ond sain gydgyfnewidiadol â **bah**, ac felly y mae yn anhawdd ei chanu. Mae y don hon yn eglur ddangos y gwahaniaeth rhwng nerth hyf naturiol y cywair "mwyaf, perthynasol" a disgleirdeb oer y cywair "mwyaf, tonyddol." Yn Ym. 250 y mae y trawsgyweiriad i leiaf y trydydd cyweirnod lleddf yn bur anhawdd ei ganu, yn gyntaf, am ei fod i'r lleiaf, ac, yn ail, am ei fod yn dwyn i mewn y "sain gydgyfnewidiadol" (**f**) mor fuan. Os bydd i'r drydedd ran ganu **f, f** yn gywir a gwrol, ni bydd gan yr ail ran un anhawsder. Wrth ddysgu y drydedd ran ar wahan, byddai yn burion cofio fod **:l, |f, :f .m |r** yr un peth a **:m |d :d'.t |l** cyweirnod arall. Prin y mae yn angenrheidiol i sylwi fod **d r f** yn yr ail ran fel **ma f la** y cyweirnod blaenorol,—ac yn y rhan gyntaf fod **m l** yn debyg i **s d'**.

Ceir esiamplau ereill yn "Ymarferiadau Ychwanegol," tu dalenau 78 a 94 am effaith neillduol,—tu dal. 86 am drawsgyweiriad israddol a dychweliad, a thu dalenau 79, 84, a 92 am drawsgyweiriad dychweliadol.

Ym. **249.** cy. E♭. *W. G. M'N.*

```
p
:m   |l     :se    |l   :t   |d'.t :- .l |se :m  |s  :s  |l  :t
:d   |d .m  :- .m  |m   :f   |m .r :m .f |m  :m  |m  :m  |f  :f
:l,  |d     :t,    |d   :r   |l,.t,:d .r |m  :d  |d  :d  |f  :r

                   p                                          C.t.m.l.
|d'  :—  |—  :m     |l     :se   |l  :t  |d'.t  :- .l |se :ms
|m   :—  |—  :d     |d .m  :- .m |m  :f  |m .r  :m .f |m  :ms
|d   :—  |—  :d .t, |l,    :t,   |d  :r  |l,.t, :d .r |m  :rf
```

*Cyf. Saf. (New.)*



Ym. 250. CY. C. *W. G. M'N.*



## SUO, SUO GAN.

Ym. 251. CY. C. *Andante.* *A. L. C.*

Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*




## CERDDORIAETH Y WYBRENAU.

A. L. C.

Ym. 252. cy. A.

Y geiriau gan E. R. Efel.




Cyf. Saf. (New.)

| l .t :d' .r' | m' .,re' :m' | l :l .l | se :se .se | l :f .f | f :m |
| Cwfn dis - taw - rwydd, | "Pob - peth dae-ar - ol a | gil - ia yn eb - rwydd |
| f :f | m .,re :m | l :l .l | se :se .se | l :f .f | f :m |
| fwyn yn sein - io | Can - ant i'r oes - oedd a'r | byd - oedd heb beid - io |

A.t.m.l.

| f' :f' .m' | r' :r' .d' | t :- .l | se :— | [l]d :— | s, :d | m :— | — : |
| Ond cofia hyn tra bo | yn - ot chwyth, | Oh, cof - ia | hyn; |
| l :l .s | f :f .m | r :re | m :— | [de]m, :— | s, :m, | d :— | — : |
| Trefnwyd i tith - au dy | gylch i droi, | Trefn - wyd dy | gylch. |

| s :— | s :f | m :— | d :r | m :— | r :— | d :— | — : |
| Mae gen - yt | en - aid a | ber - y | byth." |
| t, :— | t, :t, | d :— | m, :f, | s, :— | f, :— | m, :— | — : |
| Car - iad sydd | wed - i ei | bar - a - | toi. |

## SEINIWCH YR UDGORN.

Ym. 253. cy. C. (Geiriau gan MOORE. Cyf. mewn rhan gan E.R.) A. L. C.

*f*

| s :- .m :s | m' :m' :r' | d' :t :l | s :— :s | s' :- .m' :d' |
| 1.Sein - iwch yr | ud - gorn dros | for yr Aipht | brudd! Je - | ho - fah orch - |
| : : | : : | : : | : :s | m :- .d :m |
| 2.Mawl, i'r Gorch- | fyg - wr, Rhydd- | ha - wr y | caeth, Ei | air oedd ein |

G.t.

| s :d' :d' | d' :- .t :d' | r' :— : | : : | : : |
| fyg - odd, mae' | bob - l yn | rhydd! | Cen - wch! holl | falch - der y |
| s :m :d | m :- .s :d' | t :— : | [r]s, :— :m, .s, | m :m :r |
| cledd-yf, ein | bw - a, a'n | saeth. | Pwy â i'r | Aipht i fyn - |

| : : | : :[r]s | s :- .fe :s | m :d :m | f :f :f |
| gel - yn a | dor - odd, Ei | feirch a'i ger - | byd - au, a'i | an - ferth ys - |
| d :t, :l, | l, :s, :s, | m :- .re :m | d :d :d | r :l, :t, |
| eg - i am | af - lwydd Y | rhai aethant | all - an mor | wr - ol a |

f.C.

| f :m : | : : | : :[f]d' | d' :t :d' |
| tor. Mor | yn - fyd eu | hym - ffrost! yr | Ar - glwydd lef - |
| d :— :[d]s | f :f :f | f :m :m | m :r :d |
| llon? O | gan - ol y | cwm - wl ed - | rych - odd yr |

*Cyf. Saf. (New.)*




## GWIR SERCH.

Ym. 254. CY. G.

A. L. C.
Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*




## DOWCH LANGCIAU HEINI.

Ym. 255. CY. D. A. L. C.

Y geiriau gan E. R. Efel.




*Cyf. Saf. (New.)*


FINE. d.f.C.
Dowch o gysg - od dwfn y coed-ydd I ymbrangcio'n ei llew-yrch hi. Pwy faidd ein beio ni?
dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch yn awr. Pwy faidd ein beio ni?
ha, ha, ha, Ust, glywch chwi süad dail y coed, Dowch bydd-wn laweniawn,
ha, ha, ha, Ust, glywch chwi süad dail y coed, Dowch bydd-wn laweniawn,
ha, ha, ha. Prangciwch gydag ys - gafn droed. Mae'r blin-
ha, ha, ha. Ys - gafn, ys - gafn droed. La, la, la, la,
A.t.m.l.
ed - ig 'nawr yn hun - - o Tra mae'r ser uwch
la, la, la, la, la, la, la, la, la, la,
ben yn gwyl - - io Langciau bein - - i, Langciau
la, la. la, la, la, Dowch, Dowch,
Dowch, dowch, dowch, langc-iau
hein - - i gadewch y glyn, gadewch y coed,
Dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch, dowch,
hein - - i dowch,

*Cyf. Saf. (New.)*







Nid yw **Symudiadau mwy pell** yn cael eu defnyddio mewn cerddoriaeth gorawl gyffredin. Gellir eu hastudio ar y Modulator helaethedig. Gweler hefyd fy "Ymarferion Cyfosodiad," tu dal. 154, a'r "Arweiniad i'r Nodiant Cyffredin," tu dal. 28.

**Effaith Cyflymder a Nerth.**—Ni a wyddom i gyd pan fyddom wedi ein cyffroi, fod ein gwaed yn curo yn gyflym, a phan ydym yn bwyllog a myfyrgar, fod ein gwaed yn curo yn fwy tawel ac araf. Dyma'r egwyddor gyffredinol a raid rheoli cyflymdra ein hysgogiad wrth ganu. Gallwn sylwi hefyd fod yr un agwedd ar ein teimladau ag sydd yn naturiol yn awgrymu ein bod i siarad yn *gyflym, yn gyffredin* yn ein harwain i siarad yn *uchel*. Ac y mae yr un teimladau ag sydd yn peri i ni siarad yn *araf, yn gyffredin* yn awgrymu y dylem siarad yn *isel*. Oddiwrth hyn y cyfyd y cysylltiad rhwng *cyflymdra* a *nerth*. Dylid, pa fodd bynag, yn yr efrydiaeth yma, gadw mewn golwg y gocheliad hwn o eiddo Dr. Lowell Mason. Dywed efe fel hyn:—"Gellir canu yr un geiriau yn hollol gan wahanol bersonau, neu gan yr un personau ar dymhorau gwahanol, mewn gwahanol agweddau ar y meddwl, ac felly gyda gwahanol fynegiant yn treiddio drwyddynt. Gellid canu y penill yn dechreu, 'Bryd caf wel'd y tir dymunol,' gan un dyn (yr hwn fyddai yn edrych ar ei obeithion Cristionogol trwy ddagrau edifeirwch a galar), gyda hyder tawel crynedig, a chan ddyn arall (yr hwn sydd *ers talm* wedi cymeryd yr 'Iesu' yn 'Grist' yn yr hwn y mae ei enaid yn ymddiried), gyda mwy o sicrwydd ffydd, ac o ddiolchgarwch. Gallasai yr Israëliaid cyn croesi y Mor Coch ganu yr emyn sydd yn dechreu—

> Mor fawr yw gallu'r Duw a wnaeth
> Y bryniau serth uwch ben;
> Y moroedd eang llydain maith,
> A disglaer ser y nen.

Ond buasent yn ei ganu mewn dull tra gwahanol *wedi* iddynt groesi y Mor Coch! Hwyrach y dywedir mai yr ail ffordd yn y ddau amgylchiad hwn, ydyw y *ffordd iawn*. Ond rhaid caniatau rhywbeth, er hyny, ar gyfer y gwahaniaeth hwn mewn *arddull cyffredinol* a dull o osod allan y teimlad." Mae yr egwyddorion a osodir i lawr yma o angenrheidrwydd yn anmherffaith; ond gwasanaethant i osod meddwl y dysgybl ar waith. Dylai y ddwy engraifft a roddwyd uchod gael eu dwyn o flaen y dosbarth, a'u gosod i farn y dysgyblion. Yna dylid gofyn iddynt i chwilio am engreifftiau ereill i ddangos yr un egwyddorion, neu engreifftiau yn dwyn allan egwyddor newydd. Bydded i'r dysgybl gofio mai yr ymarferiad hwn o feddwl a theimlo drosto ei hun, ydyw *yr unig ymarferiad*, mewn cysylltiad â'r pwngc hwn ag sydd o *unrhyw wir werth iddo ef*. Wrth yn unig ddysgu *rheolau* mynegiant, heb ddeall a phrofi eu hystr, a heb geisio eu cymhwyso drosto ei hun, neu ddyfeisio ereill, pan bydd raid, nid ydys ond yn gosod cynifer a hyny o bwysau a llyffetheiriau i atal pob ysgogiad rhydd.

**Uchel a Chyflym.**—Bydd yr egwyddorion hyn yn awgrymu i ni yn naturiol fod brawddegau cerddorol yn gosod allan fawl gorfoleddus, llawenydd calon, a theimladau cyffrous ereill, i gael eu harllwys

*Cyf. Saf. (New.)*

yn gryf, a chyda chyflymdra, ac weithiau cyflymdra cynyddol. Heblaw hyny, yn mysg y lluaws brawddegau lle mae'r gerddoriaeth fel yn *actio'r geiriau*, y mae rhai ag y mae tarawiad allan y llais yn y dull dynwaredol hwn, yn naturiol yn gofyn yr un ansoddau o uchder a cyflymdra.

*Mawl gorfoleddus.*—Cawn engreifftiau o hyn yn "Cilio mae," tu dal. 32; "Natur sydd," &c., ac yn Ym. 111 o'r Gyf. Saf.

*Llawenydd.*—Gwel "Hindda wedi gwlaw," tu dal. 45, dwy linell olaf y tri phenill; "Y Gwanwyn," tu dal. 3, lle y mae llawenydd llawn-leisiol yn tori allan ar y geiriau "Fe ddaeth, fe ddaeth, Gwanwyn hardd," &c.; gweler hefyd Ym. 174 yn y Gyf. Saf. yn y dechreu ac yn y diwedd o flaen y "FINE."

*Teimlad cyffrous.*—Wrth hyn yr ydym yn golygu teimladau cyffrous ereill, heblaw y rhai o fawl a llawenydd. Gweler y teimlad a wladgarwch yn nhu dal. 13, yr 8 mesur cyntaf, a'r 8 mesur olaf—gweler erfyniad cryf yn "Iesu 'Mrenin," tu dal. 33, penill 1—gweler cyfnewidiad i ymddiried cyffrous yn "Yn nes at Dduw," tu dal. 34, llinellau 1 hyd 5—yn "Gobaith gwyd y galon," tu dal. 12, diwedd pob penill—yn "Gwrando fi pan alwyf," tu dal. 18, trydydd cysodiad, lle y mae y geiriau yn eiriau gweddi, ond y mae y teimlad yn deimlad o ymddiried llawen,—ac yn "Iesu anadla," tu. dal. 91, trydydd cysodiad, lle y mae y teimlad gostyngedig o gyffesiad yn naturiol yn cael ei orchfygu gan ddwfn deimlad yr erfyniad cyffrous. Gweler hefyd engreifftiau lle y mae teimlad cyffrous yn awgrymu cyflymdra cynyddol, yn "Yn mlaen," tu dal. 20, trwy yr holl ddarn.

*Effeithiau dynwaredol.*—Gellir cael engreifftiau lle mae ein hadgofion meddyliol yn naturiol yn awgrymu canu uchel a chyflym, wrth ddarlunio neu actio brawddeg cerddorol, yn "Rhegen yr yd," tu dal. 14, cysawd 2, "Gauaf sy'n dyfod yn awr," "O deffro di," tu dal. 64, cysawd 4—gweler hefyd Ym. 175, cyfeiliant y tenor a'r bass, yn "hwylio yn mlaen."

Dylid yma rybuddio yr efrydydd rhag ryw ymgais annaturiol at fynegiant; yn erbyn rhoi y cyfryw fynegiant i un gair neu i un linell o farddoniaeth, fel ag i dynu y sylw oddiwrth y syniad cyffredinol — y teimlad llywodraethol sydd yn rhedeg trwy y darn.

Y mae awdwr "Ein Cerddoriaeth Eglwysig" yn rhoi yr engreifftiau canlynol o hyn. "Mae y llinellau canlynol" meddai :—

*Cyf. Saf. (New.)*

> Bechadur bydd lawen, ti sant gorfoledda
> Mawl bythol i'w enw bendigaid Ef boed;
> Ac ar ei ben sanctaidd fil myrdd o fendithion
> Mewn hedd a llawenydd gogoniant a roed.

yn amlwg yn rhai *gorfoleddus* drwyddynt; ac nid yw y gair unigol *hedd* yn newid eu cymeriad. Clywais arweinydd unwaith, gyda llais cryf yn canu y penill hwn. Cymerodd afael ar y fath eiriau a "*bydd lawen*," "*gorfoledda*," a rhuthrodd yn mlaen yn nwyfus. Ond yn sydyn tarawodd ei lygaid ar y gair "*hedd*." Parodd hwn iddo aros. Cafodd ei daro megis yn ol. Ond gyda pharodrwydd meddwl hapus, ataliodd ei yrfa gerddorol, a chan ostwng ei lais i *pianissimo* sibrydol, rhoes allan y gair *hedd* yn bur wan. Wedi iddo wneyd hyn, pa fodd bynag, ymgyfnerthodd yn wrol, i gyfarfod y gweddill o'r llinell, ac i osod allan y "LLAWENYDD a'r GOGONIANT perthynol iddo." Clywodd ein hawdwr y llinellau canlynol :—

> Wele acw storm digofaint,
> Yn ymgasglu uwch dy ben;
> Trwst taranau sydd yn rhuo
> Yn uwch ac uwch trwy entrych nen:

yn cael eu canu gyda THRWST *crescendo* ofnadwy ar y drydedd linell, a tharaniad dychrynllyd ar bibellau yr organ. Ond gwir deimlad y penill hwn ydyw difrifoldeb dwys a distaw. Agwedd y llefarydd a'r gwrandawr ydyw gwrando yn ddistaw. "Oni wnai darllenydd effeithiol," meddai, "ostwng ei lais i sibrydiad, a throi clust y gwrandawr i'r tu mewn, megis, at daraniad ei gydwybod ei hun, yn hytrach na'i syfrdanu â thrwst daearol?"

Bydded i'r efrydydd bob amser ofyn iddo ei hun "Beth ddylai agwedd *fy meddwl i fy hun* fod (pa un a'i cyffrous, ynte distaw, &c.), tra yn gosod allan y syniad neu y teimlad hwn?" Bydded iddo benderfynu yn gyntaf i *deimlo* y syniad yn dawel a llawn, yn nesaf ei *siarad* yn deimladwy, ac yna ei ganu fel ag i beri i ereill ei deimlo. Os gwna efe hyn, ni cheir ef byth yn llafurio i ddwyn teimlad allan o eiriau dibwys, ac anghofio y prif syniad y mae efe yn ei osod allan.

**Uchel ac Araf.**—Dylai brawddegau sydd yn gosod allan feddylddrych aruchel arbenig ar ba un y mae y meddwl yn hoffi aros, gael eu canu yn uchel, ac nid yn unig heb gyflymu, ond mewn dull arafaidd ac arosol.

*Meddylddrychau aruchel.*—Gweler engreifftiau yn "Duw fo'n blaid," tu dal. 1—"Y Gwanwyn," tu dal. 4, "Mawl dy Dduw," lle y byddai y penillion ereill, yn yr un man, yn cael eu canu yn *uchel a chyflym*,—ac yn "Rhegen yr yd," tu dal. 15, diwedd y 3ydd penill, lle, ar ol ofni a chrynu, y

daw erfyniad dwysdeimladol a ffyddiog ar y geiriau, "Ga'i O Dduw fod yn dy law,"—"Mor weddaidd," tu dal. 61, cysodiad cyntaf, o'r geiriau "trwy'r holl fyd" hyd "efengyl," — yn datgan buddugoliaeth gyffredinol yr efengyl. Mewn ystyr gerddorol, mae y *forte*, *rallentando* yn darparu y ffordd, trwy wrthgyferbyniad—i'r *piano* ysgafn sydd yn dilyn, —yn "Hindda wedi gwlaw," tu dal. 45, lle y mae y canwr yn edrych, gyda boddhad mawr ar y bendithion y mae wedi eu cael, a lle y buasai y penillion blaenorol, yn yr un man, yn cael eu canu yn uchel a chyflym. Gwel hefyd Cyf. Saf. Ym. 139, llenellau olaf penillion 2, 3, 4,

Ym. **256**. Pa fynegiant cerddorol sydd yn gymhwys i'r geiriau "Rwy'n teimlo f'hun yn adnewyddu" yn "Gweddi foreuol," tu dal. 80? ac yn "Mis Mai," tu dal. 5, agoriad penillion 1 a 3?

Ym. **257**. Pa fynegiant a roddech i'r geiriau yn "Rhegen yr yd," tu dal. 15. "Clod i Dduw," ac "Ond mae'n myn'd, dacw hi?" i "Cartref," tu dal. 76, "Deued gair bach?"—ac i "Iesu anadla," tu dal. 92, "Os cawn lechu dan dy aden, dyogel fyddwn i barhau."

Ym. **258**. Pa fynegiant a roddech i "Y dderwen gref," tu dal. 77, y cysodiad olaf, a thu dal. 78 y trydydd cysodiad? ac i "Mor weddaidd," tu dal. 58, y cysodiad olaf. Rhoddwch eich rhesymau yn y ddau amgylchiad.

Ym. **259**. Pa fynegiant cerddorol cyffredinol a roddech i'r geiriau yn y Gyf. Saf. Ym. 113—a pha fynegiant neillduol i Ym. 113, cysodiadau 1, 2, 3, 6, 9? yn Ym. 175, ar y geiriau "Y mor i mi, y glasfor dwfn i mi?"—pa fynegiant a roddech i'r Ym. 143 yn y Gyf. Saf. 143, "Mawr iawn yw Duw" a "Llais pob creadur yn mhob man, ddyrchefir fry at Dduw."

**Tyner ac Araf.**—Mae yr egwyddorion a nodir yn nechreu y testyn hwn, yn awgrymu yn naturiol,— fod geiriau sydd yn gosod allan deimladau o Addoliad, Prudd-der, neu Deimladau tyner ereill, yn gystal â'r rhai hyny sydd yn gosod y meddwl mewn agwedd o Fyfyrdod, Desgrifiad, neu Dawelwch i gael eu canu yn fwy tyner, ac yn aml yn fwy araf na brawddegau ereill. Y mae hefyd lawer o Effeithiau Darluniadol y rhai a ellir eu cynyrchu yn dda trwy ganu araf a thyner.

*Addoliad.*—Gweler esiamplau yn "Gwrando fi," tu dal. 17, ar yr agoriad, lle y mae yr ail gysodiad, gan ei fod yn ddosran ail-adroddiadol, ac yn ddatganiad o deimlad cynyddol, yn naturiol yn cael ei ganu yn uwch na'r cyntaf; ond eto yn *piano*,— "Arglwydd grasol," tu dal. 33, lle y mae'r teimlad addoliadol yn ddyfnach a mwy gostyngedig nag yn penill 1, a dylid ei ganu yn fwy tyner ac araf. Mae y mynegiant hwn yn paratoi ar gyfer y teimlad cynyddol o weddi yn penill 3. Gweler hefyd Cyf. Saf. Ym. 135 penill 1.

*Prudd-der.*—Gwel engreifftiau yn "Cwynfan y Bugail," tu dal. 89, cysawd 4, lle y mae y drws cauedig yn peri prudd-der sydd yn oeheneido yn y geiriau, "A'r cyfan, a'r cyfan," ac y mae yn dwfnhau i dorcalondid hollol, gan ohirio ynganiad y geiriau "sydd, fel breuddwyd sydd,"—ac yn y Gyf. Saf. Ym. 118, penill 2, y ddwy linell olaf.

*Teimlad distaw.*—Gweler esiamplau yn "Emyn Jackson," tu dal. 2, y llinellau cyntaf a'r olaf, ac yn penill 4, ail linell—"Rhegen yr yd," tu dal. 14, "Ah," hyd "i mi'n ffrynd," hefyd yr un fath o, "Oh" hyd y gair "llith"—a theimlad distaw y gwrandawr yn penillion 1 a 4, o'r un—"Dewch feibion dewr," tu dal. 18, penill 2, llinellau 1, 2— "Chwilio am Ffawd," tu dal. 5, penill 5, y ddwy linell olaf,—"Gobaith gwyd y galon," tu dal. 12, penill 1, llinell 1, a phenill 2, llinell 1.

*Myfyrdod, Desgrifiad, neu Dawelwch.*—Gweler engreifftiau yn "Pe cawswn i," tu dal. 45, y cysodiad olaf, "Ond ofer yw," hyd "yma, 'rwyf,"—"Mor weddaidd," tu dal. 58, deuawd—"Cilio mae," tu dal. 31, "melus," &c.—"Nid oes," tu dal. 21, lle y mae "desgrifiad" serchus yn ymgymysgu â theimlad cyffrous, yr hyn, fel y gwelir uchod, sydd yn gofyn triniaeth wahanol,—"Y Gwanwyn," tu dal. 3,—"Gwrando fi," tu dal. 18, "Mewn heddwch hefyd," lle y mae y canwr yn edrych yn mlaen am orphwysdra. Gweler hefyd Cyf. Saf. Ym. 193, lle mae yr oll yn ddesgrifiadol a distaw; ond lle yn yr ail a'r trydydd penillion, y mae yr ail ran yn cael ei wneyd yn fwy tyner ac araf, oherwydd y "teimlad distaw."

*Effaith Dynwaredol.* — Gweler engreifftiau yn "Taenodd Nos," tu dal. 22. Mae y cyfeiliant yn dynwared effaith awel y nos,—"Y Coedydd," tu dal. 73, y cysodiad olaf, "ond fel breuddwydion," lle y mae y *diminuendo*, *pianissimo*, yn darlunio breuddwyd yn diflanu.

**Tyner a Chyflym.**—Ar yr un egwyddorion y mae yn hawdd gweled fod brawddegau yn datgan Nwyfiant llon, neu y teimlad o Ystryw ac Awgrymiadeth, yn naturiol yn cael eu rhoi allan mewn dull tyner, ysgafn, a chyflym.

*Llonder Nwyfus.*—Gweler engreifftiau yn "Pwy ddaw," tu dal. 24, "gyda chalon lon," "Chwilio am Ffawd," tu dal. 5, "Gwladys ddedwydd," tu dal. 35, a "Daeth y gwanwyn," tu dal. 57—"Y Coedydd," tu dal. 71, lle y mae llonder ysgafn y gerddoriaeth yn cael ei gymedroli gan natur desgrifiadol y geiriau. Gweler hefyd Cyf. Saf. Ym. 78, "Tra, la, la,"—Ym. 174, lle y mae llonder y rhan gyntaf o'r gerddoriaeth yn cael ei gyferbynu â chryfder yr agoriad a'r diweddiad, ac â'r frawddeg fwy desgrifiadol *legato* sydd yn canlyn.

*Ystryw Chwarëus.* — Gweler engreifftiau yn "Chwilio am Ffawd," tu dal. 5, penill 4, llinell olaf, a llinell olaf penill 10, lle byddai y digrifwch yn fwy, pe arosid ar ol y gair "na,"—"Rhegen yr yd," tu dal. 14, penill 3, "nid wyf yn ofni." Gwel Cyf. Saf. Ym. 145, ar y geiriau "Rwy'n caru 'nghariad am fod e'n fy ngharu i" fel pe yn chwareu â chyfrinach hyfryd. Ym. 120, pan ar ol y gofyniad pryderus "Pa le," y mae set arall o leisiau yn ateb "O na" ac o'r geiriau "Draw yn nghanol hyd "dan y nen," lle y mae y dirgelwch bach diniwed yn cael ei wneyd yn amlwg.

*Effaith Ddynwaredol.* — Gweler esiamplau yn "Cilio mae," lle, yn gyntaf, y mae y cysgodion cyflym-symudol ac wedi hyny pelydrau cyflym-lewyrchol yr haul yn cael eu dynwared. Gweler Cyf. Saf. Ym. 102, lle y mae codiad a disgyniad chwerthin, nid yn unig yn cael ei ddynwared, ond ei actio.

Ym. **260**. Pa fynegiant a roddech i "O Geidwad," tu dal. 86, 6 mesur yn dechreu "Cadw ni?" —"Fy enaid at," tu dal. 34, y llinellau olaf?—"Arglwydd grasol," tu dal. 34, penill 4, llinell 2? "Iesu anadla," tu dal. 92, "Saethau llymion heibio'n gwau,"—"Rhuo mae yr ystorm," tu dal. 95, "Mae'r haul yn t'wynu?"

Ym. **261**.—Pa fynegiant a ddylid roddi i Ym. 97, Cyf. Saf., penill 1, llinellau 3 a 4, a llinellau olaf penill 4? Ym. 194, penill 1, "Eisteddem oll," hyd y diwedd,—ac yn mha ddull gwahanol y dylai y teimladau cymysg o lawenydd, a chyni dwfn yn "Jerusalem," gael ei ddatgan?—Ym. 137, y llinell gyntaf, yn mhob penill?—Ym. 139, penill 3, "a distaw bydd?"

**O Uchel i Dyner.**—Y mae brawddegau sydd yn awgrymu "Teimlad cyffrous" ar eu dechreu, ac yn araf newid i "Deimlad distaw," yn naturiol i gael eu canu yn *diminuendo*. Gwel "Y Gwanwyn," tu dal. 51, "Cloe" hyd "bron,"—"Cartref," tu dal. 2, penill 2, y ddwy llinell olaf —"Gweddi foreuol," tu dal. 79, lle y mae y **ma** yn y contralto ddwywaith yn distewi y llongyfarchiad yn yr ymdeimlad difrifol o'r presenoldeb Dwyfol,—a lle, yn yr ail adroddiad, y mae y teimlad, ar ol ei ddyfnhau yn fwy, yn cael ei ddatgan gan derfyniad *pianissimo, rallentando*, hyd y *diminuendo*. Nid ydyw geiriau yr ail benill yn gofyn y fath fynegiant manwl, ond y mae geiriau y trydydd penill yn yr un lle, yn gofyn am yr holl deimlad a all yr arweinydd a'r canwyr ei daflu iddo. Gweler hefyd y Cyf. Saf. Ym. 79, cysawd 4, penill 1.

Gall seiniau unigol gymeryd yr un ffurf, ond yn y dull byr a chryno hwnw a elwir genym yn sain ergydiol, pan y mae y canwr yn dymuno datgan yni a bywiôgrwydd mewn dull sydyn. Bydded i'r dysgyblion ganu y raddfa, i fynu ac i lawr, gyda theimlad o benderfyniad gwrol ar y geiriau "Na wnaf yn wir, Na wnaf yn wir!" Gweler hefyd engreifftiau yn y geiriau "Draw, draw," &c., tu dal. 83,—"P'le mae hyfryd," tu dal. 65, cysawd 4, esgyneb cyffrous brawddeg *crescendo* hynod,—"Gwrando fi," tu dal. 18, cysawd 1 a 4,—"Cwynfan y Bugail," tu dal. 88, yn y rhai y mae yn rhaid esgusodi nifer o seiniau ergydiol oherwydd y nwyd gyffrous y mae y canwr i'w osod allan,—"Llawenhawen, tu dal. 39.

**O Dyner i Uchel.**—Bydd brawddegau sydd yn awgrymu, ac yn newid yn raddol i "Deimlad cyffrous" yn naturiol yn cael eu canu yn *crescendo*. Gweler "Y fechan ffrwd," tu dal. 54, cysawd 1, lle y mae nerth cynyddol ffrwd y mynydd yn cael ei ddangos trwy *crescendo* ac *accelerando*, ar un peth ar tu dal. 55, cysawd 4,—"Rhuo mae yr ystorm," tu dalenau 94, 95, lle y mae teimlad distaw desgrifiad yn raddol newid i gyffro dynwaredol. Gweler hefyd Cyf. Saf. Ym. 139 penill 2, "Ac yn" hyd "Yn llon ac iach,"—Ym. 175, "Nofio," hyd "cri," lle y mae y meddwl am nofio ar wyneb y mor yn enyn dymuniad angerddol am gael gwneyd hyny.

Gall seiniau unigol gymeryd yr un ffurf, ond yn y dull byr a chynwysfawr hwnw a elwir genym yn seiniau dirwasgol, pan y mae y canwr yn dymuno datgan anadliadau ei ddymuniad, ei ddyheuad, neu unrhyw deimlad dyfnhäol. Bydded i'r dysgybl ganu y raddfa yn araf, i fynu neu i lawr ar y geiriau "Oh! gwrando fi, Oh! gwrando fi." Gweler "Emyn Jackson," tu dal. 3, penill 2, y llinell olaf,—"Gwrando fi," tu dal. 17, cysawd 2, "O,"—Eto, tu dal. 18, ail gysawd "gweddi,"—"O Geidwad," tu dal. 86,

cysawd 2 "Cadw," "Arglwydd." Dylid sylwi yma fod yr un teimlad weithiau yn cael ei ddatgan yn gyffrous a nwydus gan y sain ergydiol, ag a fuasai mewn agweddau ereill ar y meddwl, yn gofyn y sain ddirwasgol erfyniadol; gweler "O Geidwad," tu dal. 87, "Cadw," "Arglwydd," a "Bryd y derfydd," tu dal. 76, cysawd 1, "tybed." Gweler hefyd Cyf. Saf. Ym. 189,—Ym. 194, pob sill o'r geiriau "gofid dan ein bron.

**Ym. 262.** Marcier, yr mwyn mynegiant, y penill canlynol, yn gyntaf ar y dybiaeth fod y bardd yn dymuno i'r meddwl dderbyn argraff ddwys o'r gwrthgyferbyniad yn y darlun, i'r dyben o argraffu (dyweder) rhyw wers y mae yn bwriadu ei dynu oddiwrtho,—ac yn ail, ar y dybiaeth nad yw syniad y penill yn ddim ond myfyrdod disgrifiadol:—

Yr afon o'r mynydd sy'n dod yn y gauaf,
Rhyferthwy mawr ydyw mae'n rhedeg yn lli;
Ond pan ddaw yr hafddydd a'i dyner awelon,
Mor dawel a'r baban yn cysgu mae hi.

**Ym. 263.** Marcier y penillion a ganlyn:—

Yr hedydd sy'
Yn 'hedeg fry
I'r cwmwl draw uwch ben;
Ei fawl i Dduw
Pob dyn a glyw,
Mae'n seinio drwy y nen.

Ehedydd cu
Canu'r wyt ti
Foreu-gloch cread Duw;
Cydunaf fi
Mewn cân â thi
I'm Crewr, gweddus yw.

**Ym. 264.** Eto, eto.

Paid ofni grym
Y gauaf llym,
Er garwed ei gyfarchiad;
Mae' wisg yn fras,
Ei lais yn gras,
Ond dan yr oll mae cariad.

'Does ar ei ael
Ond gwg i'w gael,
A chuddio mae'r trysorau;
Ond cyn bo hir
Fe ddwg, yn wir,
Y Gwanwyn a'i bleserau.

**Ym. 265.** Eto, eto.

Pan ddetgly'r Gwanwyn braf y rhewllyd dir
Fu'n cadw'r holl drysorau 'nghudd mor hir,
Does neb mor ddiwyd y pryd hyny'n wir,
A Mistar Rhaw, y Garddwr!

Pan fo'r 'sgyfarnog mysg y caydau'n troi,
Pwy gyfyd gyda'r dydd, heb ddim ymdroi,
Nes i'r lladrones am ei bywyd ffoi?
Ond Mistar Rhaw, y Garddwr!

Tybier fod y llinell olaf yn mhob penill yn cael ei hail adrodd, beth fyddai eich teimlad yn yr ail adroddiad, a pha fod y gwnaech chwi ei farcio?

*Cyf. Saf. (New.)*

**Ym. 266.** Eto, eto.

Nid oes dim sydd ya felusach
Na chael cyfaill, ffyddlon pur,
Chwi sy'n meddu'r cyfryw drysor
Glynwch wrtho drwy bob cur.
Pwy mor ddedwydd yn y tir
A'r dyn sy'n meddu cyfaill gwir.

**Ym. 267.** Eto, eto.

Mae'th dŷ* bach di yn barod;
Ond y gangen, aderyn mwyn
Yn awr yw'th gartref hyfryd,
Dy wynfyd,—
Ond blinfid
Gei'r gauaf, ac ni chei gwyn.

Mae'th dŷ ers hir yn barod;
Beth meddi, dderyn mwyn?—
Gwell genyf ryddid eto
I neidio,
A dawnsio,
A hedeg yn braf, yn y llwyn.

*Cage.

**Ym. 268.** Marcier yr un ganlynol gan y Parch. S. Roberts:—

Draw, draw ar y cefnfor ar noson ddu oer
'Roedd cwch bach yn hwylio heb seren na lloer;
A rhuad y tonau, a'r gwyntoedd a'r gwlaw,
A lanwai fynwesau y morwyr o fraw.
Ond bachgen y cadben yn llawen a llon,
A ddwedai dan wenu, heb ddychryn i'w fron
Er gwaethaf y tonau awn adref yn fyw;
Pa raid i ni ofni?—mae Nhad wrth y llyw.

**Ym. 269.** Marcier y rhai canlynol gan Ceiriog.

Bydd dyner wrth y plentyn bach
Fel tôn ar dyner dant;
Does dim ond cariad Iesu Grist
Yn fwy na chariad plant.

Bydd dyner wrth y gwan a'r gwael
Ac hefyd wrth y cawr;
Does dim ond geiriau melus mwyn,
Yn gwneyd dybenion mawr.

Bydd dyner wrth dy dad a'th fam
Rho'th galon arnynt hwy;
Mae'r byd yn ddigon chwerw heb
I ti ei chwerwi'n fwy.

Gofala hau a thi a gei
Gynhauaf yn ddifeth;
I gael trugaredd dyner Duw
Bydd dyner wrth bob peth.

**Ym. 270.** Marcier hwn o waith Ceiriog:—

Wrth wel'd yr haul yn machlud
Mewn eurog donog dân;
A mil o liwiau'n dawnsio'n deg,
Ar fyrdd o donau mân;
Rwy'n teimlo dwyfol wyddfod—
Shecina Natur yw;
Yn datgan ei ogoniant Ef,
Yr Hollalluog Dduw.

Wrth wel'd yr haul yn codi
Yn loew lan ei bryd,
Rwy'n gwel'd y glaer Shecina fawr,
Yn amgylchynu'r byd.
Os gormod gwedd yr heulwen
I lygad marwol ddyn;
Fath ydyw ei ogoniant Ef
Y Crewr Mawr ei Hun!

**Ym. 271.** Pa fodd y marciech y penillion canlynol:—

Rwy'n disgwyl wrth dy addewid bur,
O'r boreu hyd y nawn;
Ac os caf bron'r gloyw ddwr
Mi fyddaf lawen iawn.

Ti ddwedaist fod rhinweddau'th waed
Yn fwy na beiau'r byd
O! rho i mi weled dwyfol glwy;
Yn dofi anfeidrol lid.

A gymerech chwi y penill cyntaf fel teimlad un ar dori ei galon heb un cysur ganddo, ond ei fod yn gwanobeithio fod addewid gan Dduw ar ei gyfer, ynte teimlad Cristion a llawenydd lond ei galon fod ganddo y fath gyflawnder o addewidion dwyfol i ddibynu arnynt ac i weinyddu cysur iddo? A ganech chwi y ddwy linell olaf o'r ail benill fel dymuniad gostyngedig enaid trist a hiraethus, ynte fel deisyfiad un a brofasai ddylanwad y groes ö'r blaen, a'i feddwl yn llawn o ymdeimlad o'i nerth? Marcier y geiriau yn unol â'r gwahanol syniadau hyn.

Yn ddiweddaf, ar y pwngc hwn o fynegiant, adgofier i'r dysgyblion bob amser, nad ydym yn yr ymarferiadau blaenorol ond wedi eu harwain at ryw egwyddorion cyffredinol, ac *offerynau* CELFYDDYD. Ond, a defnyddio geiriau M. Fetis, "NID YDYW CELFYDDYD HEB GARIAD OND PETH DINERTH. I berswadio, rhaid i ni gredu yr hyn a ddywedwn. I GYFFROI RHAID EIN BOD WEDI EIN CYFFROI EIN HUNAIN." Os dymunech weled fel y mae yr egwyddor hon yn cael ei hanghofio, a pha mor lleied y gall y gelfyddyd uchaf wneyd heb WIRIONEDD a CHARIAD, ewch i wrando ar y cantorion y rhai a delir mor dda, yn canu yn un o'r *opera-houses* blaenaf yn Lloegr neu Ffraingc, neu ar y cor a'r organydd anghrediniol yn rhai o'n heglwysi mwyaf.

**Brawddegu Geiriau.**—Yr ydys o ddechreu ein cyfres, megis ar du dalenau 9, 17, a 32, wedi galw sylw yr efrydydd at raniad priodol y melawd fel ag i gymeryd anadl. Ar du dal. 74 a 75 yr ydym wedi rhoddi cytarwyddiadau ac ymarferiadau yn y gelfyddyd o ganfod yn gyflym raniad naturiol adranau a dosranau cerddorol, ac ar du dal. 106 y mae egwyddorion "Adraniad Melodaidd" yn cael eu dwyn allan yn mhellach. Ond gorchwyl mwy pwysig fyth i'r canwr ydyw rhanu y *geiriau* fel ag i roddi yr *ystyr* yn y dull mwyaf clir, a pheri i'r gwrandawr dderbyn yr ystyr hwnw fel ag y mae y canwr yn ei deimlo. Pan y mae cantorion yn cymeryd anadl yn nghanol gair, neu rhwng geiriau ag sydd yn perthyn gymaint i'w gilydd fel ag i wneyd i fynu, megis, un gair cyfansawdd, y maent yn dirdynu y farddoniaeth a genir ganddynt.

"Pwy fyddai yn euog o hyny?" ebe y darllenydd cyffrous. "Bydded iddo," ebe Mr. Wordsworth, "wrando yn ddyfal ar y deg canwr nesaf, ac allan o'r deg caiff naw yn euog o'r bai a ystyrid yn anmhosibl. Y mae llawer o bobl ddeallus wedi *canu* geiriau fel y mae y rhai canlynol wedi eu marcio.

Mae'r iachaw*dwr*,—iaeth fel y mor
*Yn*,—chwyddo byth i'r,—lan.
*Mae*,—ynddi *ddig*.—on digon byth
*I'r*,—truan *ac*—i'r gwan.

Dylai y canwr ffurfio yr arferiad o edrych ar eiriau nid yn unigol, ond yn sypiau wedi eu huno â'u gilydd yn naturiol yn ol yr ystyr. Mewn lluaws o ieithoedd (ac yn y Gymraeg i ryw fesur) y mae'r geiriau bychain wedi eu llyngcu i'r geiriau mwyaf. Felly yn y Lladin neu yr Hebraeg, byddai yr holl eiriau sydd wedi eu cyplysu â'u gilydd yn y penill canlynol yn cael eu dyweyd mewn geiriau unigol. Fe wel yr efrydydd cerddorol, heb fyned i astudio manylion elfeniad grammadegol, ond yn unig trwy ei synwyr cyffredin, fod geiriau *yn perthyn i'w gilydd*. Na fydded i'r cyfryw eiriau gael eu hysgaru. Ar ol gwahaniaethu y sypynau lleiaf—y geiriau cyfansawdd—fe ddechreua yr efrydydd ffurfio y rhai hyn drachefn i sypynau mwy. Fel hyn gellir rhanu pob llinell o'r penill canlynol i ddau sypyn mawr, yn gystal ag i ddau neu dri o rai llai. Po gryfaf fo gallu yr ysgyfaint i ddal, mwyaf oll ydyw'r adran y gallant roi allan mewn un anadl.

Mewn cân rhof fawl i Dduw y Nef
Fy llais am calon i gaiff Ef
Engyl gant glywed sain fy nghân
Ac uno nes rhoi'r Nef ar dân.

Mae Mr. G. F. Root yn cynyg ar fod penill fel yr un canlynol yn cael ei ganu gan ddosbarth ar ryw don adnabyddus.

Bugeiliaid gyda'u praidd liw nos
A'u gwylient ar y llawr
Daeth engyl Duw o'r nefoedd fry
A bu gogoniant mawr.

Gofyner i'r dysgyblion yn y lle cyntaf, i gymeryd anadl yn nghanol y gair "bugeiliaid," "gyda'u," "gwylient," "engyl," "nefoedd," "gogoniant," "Fe deimlai pawb," meddai, "fod cymeryd anadl yn nghanol gair yn beth o'i le, ac felly fe ganfyddid un rheol. Yn nesaf gofyner i'r dysgyblion gymeryd anadl ar ol y geiriau 'gyda'u' a 'liw,' y llinell gyntaf, ac ar ol y gair 'y,' yn yr ail linell, &c. Fe ganfyddid trwy hyny nad ydys i gymeryd anadl ar ol geiriau sydd mewn *cysylltiad agos â'u gilydd*. Yn ddiweddaf. dylai y dysgyblion ganu y penill, gan gymeryd anadl lle mae'r atalnodau wedi

eu gosod, ac ar ol geiriau pwysig. Fe geid hyny yn beth dymunol a mynegiadol ac felly fe geid allan y rheol ar anadliad priodol."

Mae'r adranau cerddorol a barddonol mewn amgylchiadau cyffredin yn cytuno â'u gilydd. Ond lle nad ydyw felly, y geiriau sydd i reoli. Yn yr eglurhad canlynol, wedi ei gymeryd o Draethawd W. A. Wordsworth ar Ganu, fe awgrymai yr adraniad *cerddorol* fod yr anadl i gael ei gymeryd lle y mae y groes wedi ei gosod. Ond byddai y cyfryw adraniad mewn dau le yn groes i'r synwyr. Mae y marciad arall gan hyny yn angenrheidiol. Caner yr adran yn y ddwy ffordd.

KEY A.

| :s, | r :- .m† | f :- .t,× | d :- .r | m :- .d× |
|---|---|---|---|---|
| Nid | oes dim | yn y | nef uwch | ben, Nid |

| f :- .r† | m :- .d× | r :f .r | r :— ‖ |
|---|---|---|---|
| oes dim | ar y | ddae - ar | lawr. |

Mewn cor yn cydganu, y mae o bwys arbenig fod pawb yn cytuno ar y prif leoedd i gymeryd anadl. Y mae yn cynyrchu effaith ddymunol iawn, o ran undeb a mynegiant clir i wneyd yr "adraniad" fel hyn yn *unfrydol*.

Ym. **272**. Rhaner geiriau Ym. 191, 144, 140 i sypynau bychain a marcier hwynt yn ol dull y penill uchod—" Mewn can," &c.

Ym. **273**. Rhaner i sypynau mwy, a marcier yn yr un modd eiriau " Gobaith gwyd," tu dal. 12, " Dowch feibion," tu dal. 13, " Arglwydd grasol," tu dal. 33, " Fy enaid at," &c., tu dal. 34.

**Y Llafariaid.**—Mae pwysigrwydd seiniau y llafariaid i'r canwr wedi cael ei ddangos, ac y mae y cydseiniaid wedi cael eu hefrydu ar tu dalenau 65 a 66. Pan y mae dosparth yn dyfod yn ddiofal yn eu cynghaniad o'r cydseiniaid, dylid myned trwy ymarferiadau priodol i'w gwella. Ond i'r llafariaid yr ydym yn ddyledus am brif swyn llafar mewn can. Yn anffodus hefyd yn y llafariaid y mae tafodieithoedd gwahanol ranau o'r wlad yn amrywio fwyaf. Fe allai y teimla yr athraw lleol mai annoeth fydd ymladd yn erbyn arferiad lleol sefydlog. Ond dylai o leiaf wybod beth ydyw y seiniau priodol, a cheisio eu cynyrchu hefyd. Y mae y llafariaid hyny a elwir yn rhai byr, i gael eu canu yn fynych ar sain hir; ond ychydig o siariadwyr sydd wedi arfer sylwi ar ffurfiad manwl y llafariaid hyn, nac yn gallu eu dal ond am foment wrth basio. Yn awr nid yw y llafariaid hyn bob amser yn fyrhad o'r llafariaid hir. Y maent yn fynych yn Saesonaeg, ac mewn un neu ddau o amgylchiadau yn Nghymraeg, yn gofyn ar fod i rai o'r peirianau llafar gael eu trefnu yn wahanol. O ganlyniad y mae'r gallu i ddal arnynt i gael ei ddysgu fel celfyddyd newydd. Y maent mor anhawdd fel y mae Kollmann ac ysgrifenwyr ereill a'r gynghaniad cerddorol, trwy gael ei gamarwain gan y gair " byr," ac heb sylwi fod y rhai hyn weithiau yn gwahaniaethu mewn natur oddiwrth y rhai ereill, wedi cymeryd yn ganiatäol nas gellir parhau y llafariad byr. Ond y mae clywed natur llafariad yn cael ei newid wrth ganu, megis tôn, cân, glân, gwên yn lle tòn, càn, glàn, gwèn, yn cynyrchu effaith anymunol iawn yn fynych, hyd yn nod i'r glust ddiamaethedig; tra y mae llafariad pur yn hyfrydwch pur. Fe helpa'r egluriadau canlynol i wneyd y pwngc yn glir i feddwl y dysgybl.

**Peirianwaith y Llafariaid.**—Y mae llafariaid yn cael eu cynyrchu trwy roddi ffurfiau pendant i'r ceudyllau rhwng y beudag a'r gwefusau. Mae y ceudyllau yn actio fel " gwrthseinydd " i'r seiniau a gynyrchir yn y beudag, yr un modd ag y mae corff y crwth yn actio fel gwrthseinydd i'r seiniau a gynyrchir gan y llinynau. Trwy eu ffurfiau amrywiol, y maent yn newid natur, ac yn tueddu i newid graddeg neu uchder y llafariaid. Nid yn unig y mae rhai llafariaid o natur mwy hyfryd nag ereill, ond y mae rhai llafariaid yn fwy hawdd eu cynyrchu mewn graddeg uchel neu isel na'u gilydd. Gan y bydd pob ffurf sefydlog ar y ceudyllau lleisiol yn cynyrchu llafariad newydd, y mae nifer y llafariaid sydd yn bosibl eu cynyrchu mewn gwirionedd yn afrifed, ac y mae y nifer a addefir mewn gwahanol ieithoedd a thafodieithoedd, heb son am amrywiaethau personol, yn fawr iawn. Ni a gyfyngwn ein sylw at y prif lafariaid Cymreig a Seisnig.

Mae y darlun canlynol yn fath o fodulator y llafariaid; nodwn y llafariaid mewn llythyrenau fydd yn eglurhau eu sain. Trefnir hwynt yn ol eu graddeg neu uchder naturiol. Os seinir y llafariaid, *ŷ*, *ŵ*, *ô*, *au*,* *â*, *ê*, *î*, mewn math o sibrwd, heb unrhyw ymgais i roddi iddynt un math o gymeriad cerddorol, ac os rhedir hwynt i fynu yn gyflym bydd codiad yn eu graddeg mor ganfyddadwy, a

* Mae y sain *au* i'w chlywed yn y geiriau Seisnig, *taught*, *fall*, &c. Nid ydyw byth i'w glywed mewn geiriau Cymraeg, ac o ganlyniad y mae y Cymro yn fynych yn teimlo anhawsder i swnio y geiriau hyn yn briodol, ac yn dueddol i ddyweyd *tôt*, *fôl*, &c. Sain fer yr *au* ydyw yr *o*, fel yn y geiriau llon, hon, &c.—Cyf.

bron yr un o ran natur, a'r codiad a ganfyddir trwy dywallt dwr mewn llestr o ryw uchder, nes y bydd yn llawn. Mae perthynas fanol ansawdd llafariadol i uchder y sain eto o dan ymchwiliad, ond credir, pan nad yw cyfnewidiad y rhestr yn ymyryd, fod natur y gyfundrefn lafariadol sibrydol, yn cael ei ddal i fynu, a bod yr *i* yn fwy cymhwys i'r seiniau uchaf, a'r *ŷ* a'r *ŵ* i'r rhai isaf.

## GRADDFA LLAFARIAID CYMREIG A SEISNIG.

| HIR, YN GYFFREDIN. | BYR, YN GYFFREDIN. |
|---|---|
| *Gwefusau Agored.* | |
| I, megis yn m*î*l. | I, yn m*i*niog. |
| E, megis yn ll*ê*. | E, yn ll*e*ferydd. |
| A, megis yn pl*â*. | A, yn pl*a*nu. |
| *Gwefusau Lled-grwn.* | |
| Au, megis yn f*a*ll (Seis.) | O, megis yn ff*o*nodio. |
| O, megis yn m*ô*r. | |
| W, megis yn br*ŵ*d. | W, yn ff*w*lbri. |
| *Gwefusau Lled-agored.* | |
| Y, megis yn f*y*. | Y, yn d*y*fod. |

Fe ganfyddir oddiwrth y daflen yma nad yw byrhad y llafariaid ar bob amgylchiad yn gofyn yr un ffurf ar y peirianau llafar, hyd yn nod yn y Gymraeg. Er engraifft y mae *o* fer megis yn y gair "morio" yn hytrach yn fyrhad o'r sain *au*, yn y gair Seisnig *tall* nac o'r *o* yn y gair Cymraeg *môr*, Neu, a chymeryd engraifft arall, nid yw y llafariad *o* yn y gair polyn yn fyrhad o'r *o* yn y gair *ffôl*, ond yn hytrach o'r *au* (Seisnig) yn y gair *Paul*. Am y Saesonaeg drachefn y mae llafariaid gwahanol hollol yn angenrheidiol i ddynodi gwir sain hwyhad neu fyrhad. Cymerwn ychydig o engreifftiau.

| SAIN HIR SEISNIG. | SAIN FER SEISNIG. |
|---|---|
| Ee, yn *feet* (ffît). | I, yn *fit* (ffit). |
| AI, yn *bait* (bêt). | E, yn *bet* (bet). |
| A, yn *father* (ffâddr). | A, yn *fat* (ffat). |
| AU, yn *Paul* (Paul). | O, yn *Polly* (poli). |
| OA, yn *coat* (côt). | U, yn *cut* (cyt). |
| OO yn *pool* (pŵl). | U, yn *pull* (pwl). |

Ymarferiadau **274** hyd **289**. [Yma y canlyn yn yr Argraffiad Seisnig o'r Llyfr hwn, 7 neu 8 o du dalenau ar iawn seiniad y llafariaid Seisnig, a 25 o ymarferiadau arnynt. Ond gan nad oes nemawr o anhawdser gyda'r rhai Cymreig, oddigerth yr "y" weithiau, a chan ein bod eisioes, ar tu dal. 66, wedi gwneyd rhai sylwadau ar y mater hwn, nid ydym yn gweled angen ysgrifenu mwy nag a wnaethom ar a mater, ac nid ydym ychwaith yn gweled mai buddiol fyddai cyfieithu y tu dalenau a nodwyd. Yr ydym, pa fodd bynag, wedi nodi yr ymarferiadau ar ymyl y ddalen fel y byddo'r ymarferiadau wedi eu rhifnodi yr un fath yn yr argraffiad Seisnig ag yn yr un Cymreig.—CYF.]

**Ffurfiau Neillduol** o gerddoriaeth leisiol. Yn mysg yr amrywiol ffurfiau o gerddoriaeth leisiol, cyfaddas i amgylchiadau neillduol, y symlaf ydynt y rhai canlynol,—

*Yr Atebiad* (Response).—Gall na fydd ond y gair "Amen," ar un sain, neu mewn cydseinedd, neu yr un wedi ei gynghaneddu, neu fe all fod yn frawddeg hwy fel yr atebiadau ar ol y deg gorchymyn mewn eglwysi sefydledig. Ond mewn unrhyw amgylchiad, os ydyw yr atebiad i gael ei ganu mewn gwirionedd gan yr holl gynulleidfa, dylai fod mor syml a naturiol a'r "seiniau Gregoraidd," a dylai fod, o ran uchder a chylch, yn hawdd i bob math o leisiau. Nis gellir cael "Amen" gostyngedig, llawn ac unleisiol ar sain uwch nag E neu F.

*Y Dreithgan.*—Y mae yr arferiad o adrodd adnod o Salm ar un sain, a gorphen pob treïthiad gyda diweddeb naturiol yn henach na Gregory, ac nag Ambrose hefyd. Dyma "ffurf" pob siariadwr cyffrous. Ei hanfodion ydyw adrodd-sain a diweddeb. Y mae hyd yr adrodd-sain yn dibynu ar hyd y geiriau. Gall y diweddeb fod yn un, dau, tri, neu ychwaneg o seiniau. Cafodd ffurf rheolaidd y Dreithgan Seisnig (sef adrodd-sain gyda diweddeb o ddau fesur, yn cael ei dilyn gan un arall gyda diweddeb o dri mesur), tu dal. 37, ei dechreuad yn Lloegr yn amser y Diwygiad. Y mae yn meddu ar gymaint o amrywiaeth a phrydferthwch ag a ellir eu dymuno mewn ffurf mor elfenol, ond y mae y sain adroddiadol yn fynych yn rhy uchel neu yn rhy isel i leisiau cyffredin y bobl, ac y mae y diweddeb yn fynych yn cael ei wneyd yn rhy lydan yn ei gyfryngau i gael ei ganu yn esmwyth—ac felly y mae yn cael ei anghymwyso i'w ddibynion priodol. Ceir hyfforddiadau ar dreithganu ar tu dalenau 37, 29, 64, 50, 88, 100.

*Yr Hymn-dôn*, neu y don Gynulleidfäol. Yr oedd hymnau mydryddol, yn wahaniaethol oddiwrth y dreithgan ryddieithol i'w cael yn oesoedd boreuol yr eglwys Gristionogol, ac er nad oedd "amser" a "mesur" y pryd hwnw yn cael eu *hysgrifenu* mewn cerddoriaeth, yr oedd y tonau ar yr hymnau hyn o angenrheidrwydd yn cael eu *canu* gydag aceniad a mesur yr hymnau. Ar adeg y

Diwygiad, fe adnewyddwyd llawer o'r hen hymnau Lladinaidd, a gwnaed rhai ereill. Darfu i'r ymgais i'w canu gan dorfeydd mawrion yn nghynganedd syml y bobl, galonogi cerddorion i efrydu symudiad cordiau syml parhäol, ac felly helpu i berffeithio cynghanedd diweddar. Y symudiad mawreddog hwn mewn cordiau syml, ydyw gogoniant yr hymn-don eto. Y mae dwyn i mewn adferiad cromatig—anghydseiniau anmharatöedig heblaw y rhai hyny (megis 7S, 7T, 1se*M*, a 7*SE*) sydd yn adnabyddus i'r glust gyffredin—trawsgyweiriadau a moddnewidiadau anhawdd fel y rhai hyny yn y Lleiaf-tonyddol,—chweched llon y lleiaf, **bah**, oddieithr pan yn symud oddiwrth ac at y seithfed **se**—cwmpas eithafol i'r "rhanau"—ac anhawsderau mewn amser, yn andwyo cymeriad *cynulleidfaol* y Salm neu'r hymn-don. Na fydded i flaenor y gan gymeryd ei gamarwain gan enwogrwydd awdwr alaw neu gynghanedd y cyfryw don. Ychydig iawn o gyfansoddwyr mawr a fuont erioed yn dysgu dosbarth i ganu hymnau, neu a gymerasant drafferth i wneyd eu hunain yn gyfarwydd â medrusrwydd neu anfedrusrwydd lleisiau y bobl. Y mae genym lawer o hymn-donau i'r organ, a llawer i'r cor, ond ychydig i'r bobl.

Mae'r cyflymdra gyda pha un y cenir yr hymn-don yn effeithio ar ei nodweddiad cynghaneddol—ei hargraff mydryddol—a'i chymwysder i deimlad yr hymn. Pan fyddo ton, a ganwyd o'r blaen gyda chyflymdra cymhedrol, yn cael ei chanu yn gyflym iawn, y mae pob *dau* guriad (mewn mesurau o ddau a phedwar curiad), a phob tri churiad (mewn mesurau o dri a chwe churiad) yn dyfod yn ymarferol yn *un curiad* i'r glust, a dylai y gynghanedd gael ei newid yn gyfatebol;—y cordiau i gael eu gwneyd i newid yn llai mynych, a llawer o "seiniau pasiadol" i gael eu goddef. Fel hyn, pe bwriedid i "Emyn Jackson," tu dal. 2, gael ei chanu yn gyflym, fel rhyw don *la*, *la*, *la*, byddai yn rhaid newid y cordiau unwaith yn mhob mesur (fel y maent mewn dawns-donau neu deith-donau), yn lle dwywaith;—a phe byddai i'r "Gwylwyr Cerddorol," tu dal. 8, gael ei newid, trwy ei chanu yn bur araf, fel hymn-don bruddaidd, dylai y cordiau gael eu gwneyd i newid ddwy waith neu dair yn fwy aml nag y maent yn awr—fel ag i fod yn gymhwys i ysgogiad araf a dwys y gerddoriaeth. Y mae canu cyflym *iawn* ar don a gynghaneddwyd i gael ei chanu yn bur araf ac yn newid ei chordiau bob curiad, yn cynyrchu ryw honciau trymaidd. Mae canu ton a gynghaneddwyd i gael ei chanu yn gyflym, yn araf, yn cynyrchu effaith lusgedig. Rhaid i flaenor y gan edrych i'w gynghaneddiadau.

Po gyflymaf y cenir ton, amlycaf oll y mae y mydr, a mwyaf oll o angen sydd am Fantoliad Mydryddol a chyfartaliad rhwng y llinellau. Mae y glust gyffredin yn galw am y mantoliad hwn. Edrycher ar ei hoffder o'r tonau dawns a'r teithdonau. Os nad yw y llyfr tonau yn gwneyd y llinellau yn ogyhyd bydd yn hawdd i Flaenor y gan, neu yr Organydd, wneyd hyny, oblegid y mae "mantoliad mydryddol" yn dyfod yn naturiol i'r bobl.

Wrth ddewis ton ar hymn, rhaid i Flaenor y gan ystyried beth ydyw meddwl cyffredinol yr hymn. Caiff mai buddiol fydd dosbarthu hymnau, megis yn gyntaf, hyf a nerthol, yn ail y rhai sydd yn datgan teimlad llon, yn drydydd y rhai sydd yn athrawiaethol ac amrywiol o ran eu nodwedd, ac yn bedwerydd, y rhai hyny ag sydd yn ddwys ac erfyniadol. I'r dosbarth cyntaf o hymnau, y mae tonau yn y mesur dau neu bedwar curiad, yn symud yn lled gyflym ac yn meddu *doh*, *me*, a *soh* mewn lleoedd effeithiol yn y priflais, yn dra chymwys. Y mae tonau o'r natur hwn, pan yn cael eu canu yn bur araf a chadarn, yn newid eu heffaith i'r dwys arddunol. I'r ail ddosbarth o hymnau, y mae tonau yn y mesur tri neu bedwar curiad a'r *te*, *ray*, *fah*, a *lah* wedi eu gosod mewn sefyllfaoedd effeithiol, yn dra chyfaddas. Gellir newid y tonau llawen hyn, drwy eu canu yn araf a chadarn, nid i donau arddunol, ond i rai dwys erfyniadol, o'r pedwerydd dosbarth. I'r trydydd dosbarth o hymnau, rhaid cymhwyso tonau nad ydynt yn rhoi rhyw effeithiolrwydd arbenig i seiniau *cedyrn* na rhai *dibynol* y raddfa. Mae y tonau annheimladol hyn yn meddu priflais sydd yn symud yn gyffredin o un sain o'r raddfa i'r nesaf, ac nis gellir newid llawer arnynt o ran effaith feddyliol, trwy gyflymder ysgogiad.

Y mae yr un tonau yn cael eu canu gyda chyflymdra gwahanol mewn gwahanol fanau, ond y mae grym naturiol ymarferiad yn atal cyfnewidiad mawr mewn cyflymdra yn yr un lle. Ond gellir dynodi cyfnewidiad teimlad o benill i benill i ryw fesur trwy newid y cyflymdra. Os bydd y gynulleidfa yn deall ffordd yr arweinydd, bydd un neu ddwy o seiniau gwrol o'i lais ef, yn eu cyffroi i ganu yn fwy egniol, fel megis trwy gydymdeimlad trydanol; a bydd saib ar ol penill yn awgrymu yn rhwydd fod yr arweinydd yn dymuno i'r penill nesaf gael ei ganu yn fwy tyner ac araf. Y gelfyddyd yma o gyfaddasu cerddoriaeth i'r geiriau,

ydyw dirgelwch mawr llwyddiant ysbrydol swydd blaenor y gân.

Y mae *Anthemau* yn gwahaniaethu oddiwrth hymn-donau trwy eu bod yn rhoi mynegiant i eiriau arbenig yn hytrach nag i syniad cyffredinol hymn o luaws o benillion. Gweler "Clyw fi pan alwyf," tu dal. 17, ac "O Geidwad," tu dal. 85. Y mae rhyddid yn yr anthem i ddwyn i mewn ail-adroddiadau o'r gerddoriaeth ac o'r geiriau, yr hyn na oddeffr mewn hymn o luaws o benillion. Er fod y dyfeisiau hyn yn hanfodol nodweddu anthem, dylid bod yn ofalus yn eu defnyddiad mewn anthem a fwriedir ei chanu gan gynulleidfa gyfan. Byddai yn burion peidio gadael i'r lleisiau tenor a contralto, y rhai sydd yn fynych yn wan mewn cynulleidfa, i gymeryd yr arweiniad mewn brawddeg ganredol *(fugal)*, ac y mae yn annoeth ceisio cychwyn canred ar haner curiad, neu ddwyn i mewn unrhyw anhawsder arall yn yr amser. *Y Motet* ydyw y ffurf henafol ar yr anthem. Y mae anthemau yn fynych yn gyfansoddedig o luaws o symudiadau gwahaniaethol, gyda chyfnewidiadau yn y cyweirnod, y mesur, a'r cyflymdra,—y naill symudiad wedi ei gynllunio fel ag i osod allan, trwy wrthgyferbyniad, y symudiadau ereill. Y mae anthemau Eglwysi Cadeiriol yn cael eu hysgrifenu ar gyfer corau y rhai a esteddant yn ddwy ran wrthgyferbynol un ar ochr y Deon (hyny yw ar y llaw dde fel yr ydych yn myned i mewn oddiwrth y *nave*, neu gorff yr eglwys), yr hon a elwir y *Decani*, a'r llall gyferbyn, ar ochr yr Arweinydd, ac a elwir y *Cantoris*. Y mae rhai darnau o'r anthem yn cael eu canu gan yr holl gôr (wedi eu marcio "Llawn") a darnau ereill yn wrthleisiol, hyny yw, bob yn ail gan ddwy ran y cor. Y mae y rhanau wedi eu marcio "verse" i gael eu canu gan un llais i bob ran. Mae yr anthemau hyn hefyd yn cynwys yr unawdiau, y deuawdiau, &c., ac adroddiadau unlleisiol cryf, y rhai a elwir yn adroddgan gorawl. Bwriedir i'r anthemau gael eu canu yn gyffredin gyda chyfeiliant ar yr organ, er y gellir canu llawer o'r anthemau llawn yn dda hebddi.

*Y Madrigal* ydyw y ffurf henaf o gerddoriaeth leisiol anghysegredig mewn rhanau. Y mae yn meddu yr hen arddull o gynghanedd, ac yn llawn o gychwyniad canredol, ac o efelychiad. Nid oes un rhan yn oruchaf ar y llall, ond y mae pob un yn cymeryd ei thro i ofyn yn arbenig am glust y gwrandawr. Gall unrhyw nifer o leisiau ymuno yn y madrigal. Yr oedd yr un arddull o gerddoriaeth yn cael ei ddefnyddio yn yr hen anthemau, o ba un y mae "Bon Accord," tu dal. 11, yn engraifft byr. Y mae rhyw bwynt pert o feddwl ar y diwedd yn fynych yn hynodi y madrigal. Nid oes dim un esiampl dda o'r madrigal yn yr Ymarferiadau Ychwanegol. "Byddwn gariadus a llawen," tu dal. 15, ydyw y nesaf. Ond gweler engreifftiau yn y Tonic Sol-fa Reporter, "In going to my lonesome bed," Rhif 68, "The Silver Swan," Rhif 274, a "Flora gave me," Rhif 247. Y mae llawer o ddarnau yn cael eu galw ar yr enw madrigal, nad ydynt ond alawon wedi eu cynghaneddu, megis "Nid oes un plentyn," tu dal. 21. Ffurf ysgafn ar y madrigal ydyw y *Ballet*, yr hon a genid yn benaf ar "fal-la," fel cyfeiliant i'r ddawns. Y mae cyfeiliant offerynol allan o le gyda'r dosbarth yma o ganu. Y mae

*Y Glee* yn ffurf gerddorol o haniad Seisnig. Y mae wedi ei bwriadu i leisiau unigol, ac o ganlyniad y mae yn rhoddi i bob un gyfleusdra i ddangos ei hun, ac yn dwyn allan bob cywreinbeth mewn amser a seiniadaeth. Fe'i hestynir yn gyffredin, fel yr anthem, i luaws o symudiadau gwahanol y naill, trwy ei amrywiaeth arddull, yn cyfnewid effaith y llall. Gweler "Cilio mae," tu dal. 29, "Pwy ddaw i rodio," tu dal. 24," "Daeth y gwanwyn," tu dal. 50, "O deffro di," tu dal. 62, "Y dderwen gref," tu dal. 77, ac "Mae'r nos yn dod," tu dal. 81. Fe oddef y *Glees* yma nifer o leisiau ar un rhan, er y dylid cymeryd gofal mawr i sicrhau undeb a thynerwch cywrain. Ond y mae llawer *glee* yn cynwys gormod o fân raniadau amser i hyn. Ni fwriadwyd cyfeiliant offerynol erioed i'r fath *glees*, a dinistrid eu hamcan o osod allan y lleisiau. Ond y mae glees i'w canu gydag offerynau wedi eu hysgrifenu gan Syr Henry Bishop ac ereill, yn y rhai y mae yr offerynau yn cynyrchu effeithiau neillduol.

Mae y *Rhan-gan* (Part-song) yn amrywio oddiwrth y *glee* fel y mae yr Hymn-don yn amrywio oddiwrth yr Anthem. Mae y Rhan-gan a'r Hymn-don yn canu yr un gerddoriaeth ar luaws o benillion, yr hyn nad yw y glee a'r Anthem byth yn ei wneyd. Honir fod y Rhan-gan wedi codi yn Germani. Bwriedir iddi ddal lluaws o leisiau yn mhob rhan. Y mae yn amrywio oddiwrth y Madrigal trwy nad ydyw yn caniatau cymaint o'r arddull canredol, trwy ei bod yn dibynu mwy a'r effaith gorawl diweddar, a thrwy ganiatau i'r rhan uchaf, yn gyffredin i gymeryd y blaen. Ceir esiamplau o'r Rhan-gan Germanaidd ar tu dalenau 1, 3, 4, 5, 13, 14, &c. Mae y Rhan-gan, fel y mae wedi ei mabwysiadu yn Lloegr, i'w gweled yn "Hindda wedi gwlaw," tu dal. 44, a "Llawenhawn,"

tu dal. 39. Ceir y ffurf fwyaf coeth ar yr arddull hwn yn nghyfansoddiadau Mendelssohn (tu dalenau 71 a 79), ac Henry Smart (tu dalenau 45 ac 88). Mae yr *Alaw wedi ei Chynghaneddu* yn rhan-gan mewn effaith, ond oddiwrth natur ei tharddiad y mae mwy o ddyddordeb cydmariaethol yn perthyn i'r alaw. Gweler engreifftiau ar tu dal. 2, a thu dalenau 57 a 65. Fe ganiatai y rhan-ganau symlaf, fel y rhai cyntaf a nodwyd, gyfeiliant, ond y maent yn well hebddo; byddai y fath ran-ganau ag eiddo Mendelssohn a Smart, y rhai sydd yn dwyn allan y llais a'r mynegiant mor ragorol, yn cael eu niweidio ganddo. Mae

*Cydganau yr Oratorio* wedi eu bwriadu i gael eu canu gan *nifer enfawr o leisiau*, ac i gael cyfeiliant llawn o'r holl offerynau, er fod y cynghaneddiad yn gyffredin yn llawn hebddo. Gweler "Haleliwia," tu dal. 26, "Mor Weddaidd," tu dal. 58, a "Dyma gân," tu dal. 66. Mae

*Cydganau yr Opera* yn gyffredin o arddull ysgafn ac yn gofyn cyfeiliant, ond nid llu mawr o leisiau. Gweler esiamplau yn y *Tonic Sol-fa Reporter*, "Market Chorus," Rhif 487, a'r "Carnovale," Rhif 142.

*Canon* sydd efelychiad canredol yn yr hwn y mae cerddoriaeth y rhan arweiniol yn cael ei efelychu trwy holl hyd y rhanau ereill. Esiampl rhagorol yw hwnw yn "Dangosi i mi," tu dal. 7. Y mae yno bedwar llais yn canu *dau* destyn neu sylfon, ac y mae yn cael ei alw yn Canon "pedwar mewn dau." Mae y *prif destyn* yn cael ei ddwyn i mewn gan y soprano, ac yn cael ei barhau hyd at nodyn cyntaf yr ail gysodiad ar tu dal. 8, ac wedi hyny y mae yn cael ei ailadrodd mor bell a'i ddiweddeb cyntaf. Mae y prif destyn hwn yn cael ei gymeryd i fynu drachefn gan y tenor, ond nid nes ar ol chwe mesur, a cherir ef yn mlaen hyd y diwedd, y tenor heb feddu ond amser i ddechreu yr ail-adroddiad. Yn y cyfamser y mae y *counter subject*, y gwrth-destyn (neu'r "sylfon ddilyniadol" fel y geilw rhai ef) yn cael ei gychwyn gan y contralto yn y trydydd mesur. Mae hwn yn cael ei gario yn mlaen hyd ddiwedd mesur cyntaf yr ail gysodiad, tu dal. 8, y contralto yn meddu amser i ail-adrodd yn agos yr haner o hono. Mae y gwrthdestyn hwn yn cael ei efelychu gan y bass hefyd ar ol chwech o fesurau. Nid oes gan y bass amser i ailadrodd. Mae y Gwrth-destyn yn yr amgylchiad hwn yn bur debyg i'r prif-destyn ei hunan, a gellir ei alw yn "efelychiad canredol" o hono. Y mae Ton gron *(Round)* yn *canon* gydag un testyn, ac mewn un "rhan," yr hon a gymerir i fynu yn olynol gan y gwahanol leisiau.—Nid ydyw

*Y Fugue* (Canred) yn gofyn ar fod i'r testynau gael eu hefelychu yn hollol fel yn y canon, neu yn eu holl hyd. Ond y mae yn ddarn mwy hir, ac yn fwy amrywiol yn nhriniaeth y testynau. Y mae yn caniatau i'r rhanau nad ydynt ar waith ar y testyn, i ganu brawddegau tlysion fel Cyfeiliantau, y rhai y dylid eu rhoi allan mewn dull esmwyth. Y mae hefyd yn caniatau rhyngchwareuadau byrion neu Adganau *(Episodes)* gwahanol rhwng y lleill, a gwahanol fathau o Derfyniadau, yn y rhai nad yw y testyn yn chwareu un rhan.

*Hanfodion* Canred ydynt—fod yno Destyn ac Atebiad *(Response)* yn cael eu cario trwy y gwahanol ranau o ba rai y mae y gerddoriaeth yn gynwysedig; a bod y Testyn hwn yn brif bwngc dyddordeb yr holl symudiad. Y mae rhai yn gwneyd Gwrth-destyn yn hanfodol i'r Ganred Dywed ereill nad oes dim canred heb *Stretto* (tu dal. 113) ac y mae ereill drachefn yn gofyn am droediad yr organ (y *pedal*) i wneyd i fynu y gwir ganred. Ond y mae y darnodiadau manwl yn anghyfleus mewn ymarferiad. Y mae yn anhawdd cau allan o ddosbarth y Canredau unrhyw ddarn neu symudiad ag y mae ei holl ffurf-wneuthuriad wedi ei amlwg adeiladau ar ryw Destyn ac Atebiad. Yn ol ei darnodiad ni, pa fodd bynag, nid ydyw "Haleliwia, Amen," tu dal. 26, yn Ganred: oblegid er fod ganddi Destyn yn y ddau fesur cyntaf, y rhai a ailadroddir yn y ddau nesaf, a'i bod yn meddu Atebiad priodol yn cychwyn o'r pumed uwchlaw yn y Soprano, ac er fod yr un testyn yn cael ei ddwyn i mewn drachefn yn y Bass yn cysodiad 4, ac yn meddu drachefn Atebiad mewn pumed uwchlaw yn y tenor, ac yn ailymddangos yn ngwaelod, tu dal. 27, eto nid ydyw y Testyn yn cael ei gario trwy y rhanau yn eu tro, ac ni wneir ef yn brif bwynt dyddordeb yn y rhan fwyaf o'r Cydgan. Gellir galw y cyfryw darnau yn frawddegau neu symudiadau Canredol, ond nid yn Ganredau. Gwelir dwy frawddeg lai, o'r un natur, yn "Bon Accord," tu dal. 11, ac yn "Gwrando fi," tu dal. 19.

*Y Testyn* sydd adran (anaml y mae yn cyrhaedd i Ddosran) o'r priflais, a'r hon sydd yn cael ei hefelychu (yn fwy neu lai anmherffaith) yn ei mydr neu ymdoniad melodawl neu yn mhob un o'r ddau yn y rhanau dilynol o'r Ganred. Y mae o'r fath nodwedd fel y mae yn hawdd ei adnabod gan y glust, pan y mae yn ailymddangos mewn rhanau gwahanol ac mewn cyweirnodau gwahanol. Yn y

*Cyf. Saf. (New.)*

Canredau mwy perffaith, y mae yn cael ei efelychu gan y gwahanol ranau yn olynol, a hyny lawer gwaith drosodd mewn gwahanol ffyrdd. Gelwir pob tro y cerir ef trwy y rhanau, yn "Ddadleniad" newydd ar y Testyn. Mae

*Y Response* (neu'r Atebiad) yn Efelychiad perffaith neu yn agos felly o'r Testyn. Y mae yn dechreu yn gyffredin y tro cyntaf y gwneir ef, ar y pumed uwchlaw, neu y pedwerydd islaw, neu ar yr wythawd. Wedi hyny gall ddechreu ar yr un sain a'r Testyn, neu ar y cyntaf, yr ail, trydydd, &c., naill a'i uwchlaw neu islaw. Gall wneyd hyny trwy symudiad cyferbyniol neu gyffelyb. Gall fod mewn seiniau o'r un hyd, neu wedi eu hwyhau neu eu byrhau. Gall hefyd fod gydag aceniadau croes *(per arsin et thesin)* y Testyn a'r Atebiad yn dechreu y naill ar y curiad gwan a'r llall ar y curiad cryf. Mae

*Y Gwrth-destyn* mewn gwirionedd yn Gyfeiliant i'r Testyn, neu i'r Atebiad, neu i'r ddau. Yn fynych nid oes dim Gwrth-destyn, ar wahan, ond y mae y Cyfeiliant yn amrywio. Ar y llaw arall y mae weithiau luaws o wrth-destynau mewn gwahanol ranau. Ceir esiampl dda o'r Gwrth-destyn yn symudiad cyntaf "Dyma gân," tu dal. 66. Mae y Testyn (o dri mesur a haner) yn cael ei ddwyn i mewn yn y contralto, gyda Gwrth-destyn yn y soprano. Rhoddir yr Atebiad yn union mewn wythawd yn is gan y bass, gyda'r un Gwrth-destyn *uwchlaw* iddo yn y Tenor. Yn nesaf y mae y Testyn yn ymddangos yn y soprano, cysawd 2, gyda'r Gwrth-destyn *islaw*, yn y contralto. Mae y ddau yn cael eu gwrthdroi. Yna mae y Testyn yn ymddangos yn y bass drachefn, wedi ei newid yn ei gyfrwng cyntaf, gyda'r Gwrth-destyn yn y tenor. Ac yn olaf mae y Testyn wedi ei newid yn dyfod yn y soprano drachefn gyda'r Gwrth-destyn odditano yn y contralto. Nid ydyw hwn yn "gario" perffaith ar y Testyn "trwy" yr holl ranau, ac y mae llawer o elfenau ereill y Ganred yn eisiau; ond gan nad oes dim, yn y symudiad, oddigerth ychydig o chwareu y Cyfeiliant a diweddeb, ond Testyn, Gwrth-destyn, ac Atebiad, yr ydym yn dewis galw hon yn Ganred.

*Y Stretto.*—Mae yr Atebiad yn dechreu yn gyffredin y waith gyntaf y gwneir ef *ar ol* gorphen y Testyn, ond y mae yn fynych yn dechreu gyda churiad olaf y Testyn, ac weithiau yn gynt. Y mae yn ychwanegu llawer at gyffro a phrydferthwch y Gerddoriaeth yn niwedd Canred pan y mae yr Atebiadau mewn un rhan cyn fod y Testyn wedi dod i derfyniad yn y llall. Mae y *dynesiad agosach* hwn o eiddo yr atebiad at ddechreu y Testyn yn cael ei alw yn Stretto. Weithiau y mae mwy nag un *stretto.* gan fod yr Atebiad yn dyfod bob tro yn nes at ddechreu y Testyn.

*Organ-point neu Pedal.*—Y mae Canredau cyflawn, ar ol lluaws o gynlluniau i ddangos allan mewn gwahanol oleuni eu Testynau a'u Gwrth-destynau yn fynych yn terfynu gyda sain barhäol hir, yn gyffredin ar y bass, a elwir yn Organ-point, yr hon sydd yn dylifo ei sain arddunol ar holl frawddegau terfynol y gwahanol destynau. Y mae y cyfryw Organ-point yn niwedd "Mor weddaidd," tu dal. 61, ond y mae yn cael ei osod yn rhan yr offerynau.

Nid oes *un Canred Gyflawn* i'w chael yn yr Ymarferiadau Ychwanegol, ond y mae esiamplau dyddorol o'r ffurfiau llai rheolaidd, y rhai y dylid eu hefrydu yn ofalus, a dylai pob efrydydd fod yn alluog i ateb cwestiynau arnynt. Yn ail symudiad "Dyma gân," tu dal. 67, mae y Testyn yn cael ei "gario trwy" yr holl ranau ddwywaith,—yn gyntaf yn y drefn,—Bass, Tenor, Soprano, Contralto; yna yn y drefn—Soprano, Bass, Tenor, Contralto. Y mae yn ymddangos drachefn yn y Bass, tu dal. 68, cysodiad 1, mesur 6, ac yn cael ei ateb yn y Soprano.

Yn y trydydd symudiad, tu dal. 66, cys. 1, m. 7, y mae Testyn (o chwech a haner o fesurau) yn cychwyn yn y Contralto. Mae yr Atebiad yn dyfod (gyda *Stretto* o un curiad) yn y Soprano, cys. 3. Cymerir ef i fynu drachefn (gyda *Stretto* o un curiad) yn y Tenor, cys. 4, ond yma y mae y terfyniad yn cyfnewid, er mantais y Bass, yr hwn sydd yn dymuno cychwyn ar y pumed yn lle ar y seithfed mesur. Ar ol cael ei "gario trwodd" fel hyn unwaith, y mae y Testyn yn ail ymddangos, wedi ei gyfnewid ychydig yn y Soprano, yn niwedd cys. 5, gyda'r un *Stretto* ag a sicrhawyd gan y Bass. Yna y mae yn canlyn enciliad neu ryngchwareuad o un mesur ar bymtheg, yn cynwys pedair sain gyntaf Testyn ac Atebiad, y rhai a drinir yn ganredol yn y Tenor, Contralto, a soprano. Yn ngwaelod, tu dal. 70, y mae y Testyn crynöedig yn ailymddangos yn y Contralto, a thrachefn yn cael ei "gario trwy" y Bass, Soprano, a'r Tenor, ond yn cael ei fyrhau mewn cyfartaledd bob tro,—a diwedd y melawd yn cael ei fyrhau er mwyn gwneyd lle i'r diweddeb.

Yn "Mor weddaidd," tu dal. 51, y mae Testyn o wyth mesur yn dechreu yn y Contralto, ac ar ol

cyfrwng o fesur llawn, mae y Bass yn cymeryd yr Atebiad i fynu mewn wythawd yn is. Ar ol mesur o ryngchwareuad, y mae Adgan *(Episode)* o ddeng mesur yn dyfod i mewn ar tu dal. 58, y cysodiad olaf, ac yn pasio i'r cyweirnod llon. Yna ar tu dal. 59. diwedd cys. 2, mae y Testyn yn ailymddangos yn y Tenor, ond dim ond yr haner cyntaf o hono. Cyn y mae hyn yn terfynu y mae y Soprano yn cymeryd i fynu y Testyn am beth amser, ond yn gadael allan y rhan ganol, ac yn rhoi ond y rhanau cyntaf ac olaf. Gyda *Stretto* pur fychan (ar ol ond un mesur) mae y Tenor drachefn yn dwyn y Testyn i mewn yn yr un mòdd a'r Soprano. Ar ddiwedd tu dal. 59, y mae rhyngchwareuad byr. Y mae Testyn newydd yn cael ei ddwyn i mewn yn y Soprano, gyda Gwrth-destyn yn y Tenor; ac y mae iddo yn ddioed Atebiad yn y Contralto, gyda'r un Gwrth-destyn yn y Bass. Yna y mae yn canlyn Adgan o bedwar mesur ar ddeg, yn cynwys brawddegau yn efelychu rhai yr Adgan flaenorol. Ar tu dal. 61, cys. 2, y mae tua thri chwarter y Testyn gwreiddiol yn cael ei ddwyn i mewn yn dyner ac unig gan y Contralto, ond cyn y mae wedi ei orphen, y mae y Soprano yn cymeryd i fynu ei frawddegau terfynol, ac y mae y Tenor yn eu hadleisio. Y mae diweddeb byr yn terfynu y darn. Byddai yn burion i'r Canwr, wrth ganu cerddoriaeth o'r natur hwn, i farcio yn ei ran ei hun, yr holl frawddegau neu adranau sydd yn cynwys y Testyn yr Atebiad neu y Gwrth-destyn, a'u canu gydag eglurder ac yni; gan ganu pob peth arall oddieithr yr Adganau cydrhwng, yn bur dyner ac mewn dull tawel.

*Recitative* sydd fath o ddatganiad celfyddydol, yn mha un y mae y Canwr yn ceisio dynwared codiad a dyrchafiad, a phwysleisiad siarad cyffredin. Y mae yn gwahaniaethu oddiwrth ddatganiad treithgan, yn benaf trwy ei fod yn newid y cyweirnod yn fynych, yn fwy mynych nag y mae yn y gerddoriaeth wylltaf a mwyaf cyffrous, ag sydd ar wahan oddiwrth gerddoriaeth. Y mae Offerynau (un neu ychwaneg) yn cael eu defnyddio i daro ac weithiau i ddal i fynu y Cyweirnod newydd. Nid ydyw hyd y Nodau mewn *Recitative* wedi eu bwriadu gan y cyfansoddwyr ond fel rhyw ddynesiad agos. Mae y canwr yn eu rhoi allan yn hollol yn ol ei fympwy ei hunan. Y mae yn eu gwneyd yn hir neu yn fyr yn ddistaw neu yn gyffrous yn hollol fel y gwel yn oreu. Rhaid iddo osgoi mydr rheolaidd alaw. Nid rhaid iddo ond datgan, gydag yni a phrioldeb, pa deimlad bynag fyddo yn y geiriau. Y mae y *Recitative* yn gwasanaethu i gysylltu gwahanol ranau Opera, Oratorio, neu Cantata, trwy adrodd digwyddiadau, neu awgrymu teimladau sydd yn cario yr ystori yn mlaen. Y mae

*Opera* yn chwareuyddiaeth yn mha un y mae y chwareuwyr yn canu yn lle siarad eu rhanau, a'r hwn sydd yn cael ei gynorthwyo bob amser gan offerynau. Tra yn dwyn allan ryw hanes cyffrous, y mae yn rhoi cyfleusdra i ddwyn i mewn amrywiaeth mawr o ffurfiau cerddorol. Gellid meddwl y buasai yr uniad hwn o bedair celfyddyd, barddoniaeth, cerddoriaeth, arluniaeth, a chwareuyddiaeth, i greu dyddordeb a lledrith yn dyrchafu yr holl gelfyddydau a ddefnyddir fel hyn. Ond nid felly y mae, oblegid nis gall y meddwl dynol werthfawrogi y rhagoriaeth uchaf mewn nifer o gelfyddydau ar yr un amser, ac y mae y gelfyddyd o actio a chanu yn ymyryd yn fawr iawn â'u gilydd. O ganlyniad ni cheir y farddoniaeth oreu, yr arluniaeth oreu, yr actio goreu, nac (oddigerth mewn canu unawdiau) y gerddoriaeth oreu yn yr Opera. I gael y gerddoriaeth oreu rhaid i ni edrych at

*Yr Oratorio.*—Opera gysegredig ydyw yr Oratorio, heb ddarluniau nac actio, ac yn yr hwn y mae y gerddoriaeth yn teyrnasu yn ddiwrthwynebiad. Y mae yn dwyn allan ryw ystori gysegredig trwy foddion y *recitatives*, caneuon, dwyawdiau, triawdiau pedwarawdiau, a chydganau sengl a dwbl. Y mae mwy o Gydganau a llai o leisiau sengl yn cael eu defnyddio nag yn yr Opera. Y mae ceisio dwyn Opera gyffredin i'r diriogaeth bur yma o gerddoriaeth trwy ei ganu heb yr actio a'r darluniau, yn tueddu i ddim ond i ddangos cymaint y mae yr Opera gyffrous yn dibynu ar yr effeithiau ar y synwyrau am eu poblogrwydd.

*Y Cantata.*—Nid ydyw hon, os yn un gysegredig ond Oratorio fer, ond os ar destyn fydol, nid ydyw ond Opera fechan, yn gyffredin heb na darluniau nac actio.

**Cerddoriaeth i Leisiau Cyfartal.**—Y mae y rhan fwyaf o ran-ganau yn Lloegr ac yn yr Unol Daleithiau yn cael eu canu gan Leisiau Cymysg, hyny ydyw lleisiau Meibion a Merched gyda'u gilydd. Hyn sydd oreu yn gymdeithasol ac yn gerddorol; ond nid ydyw bob amser yn gyrhaeddadwy. Peth dymunol gan hyny ydyw ar fod merched yn eu gweithdai, a meibion hefyd yn yr eiddynt hwythau yn meddu cerddoriaeth wedi ei chynghaneddu yn arbenig ar eu cyfer. Y mae ein cyfansoddwyr yn y Tonic Sol-ffa yn prysur arfer eu dawn i gyflenwi yr angen yma. Mae Mr. Callaway wedi gwneyd gwasanaeth mawr i'n dynion

*Cyf. Saf. (New.)*

ieuaingc; ac y mae ei ymchwiliadau a'i ymofyniadau hanesiol ef ar y mater wedi ychwanegu llawer at werth ei waith ef.

**Dyfeisiau Corawl.**—Gan ein bod wedi cael achlysur yn fynych i sylwi fod rhai hyd yn nod o'r cyfansoddwyr mawr yn bur greulon yn eu gofynion ar gwmpas y llais, y mae yn deg ar ran Arweinydd Cor i fenthyca ychydig o leisiau oddiar un rhan i gynorthwyo un arall am adran neu ddwy. Fel hyn gall y Tenorwyr gynorthwyo lleisiau y Contralto, pan y mae eu rhan yn gorwedd yn bur isel, a gall rhai o leisiau y Contralto gynorthwyo lleisiau y Tenor pan y mae eu rhan yn rhy uchel, ac felly yn y blaen.

**Yr Adseiniadau.**—Os cymerir pibell lydan yn perthyn i organ, neu offeryn pres llydan, o'r un hyd ag un gul, bydd graddeg neu uchder y ddwy yr un, ond bydd yr ansawdd hwnw sydd yn codi oddiar adseiniad yr awyr yn y bibell yn wahanol. Rhydd yr Adseinydd llydan sain bur, ond lled drymaidd a phruddaidd. Rhydd yr adseinydd cul sain fwy pendant a chlir. Felly hefyd y mae ffurf y genau dynol, wrth ganu, yn effeithio ar nodwedd y sain. Y mae genau llydan *llawn* yn rhoddi Adseiniad *Pruddaidd*, cymwys i alar neu ofnadwyaeth duchanus. Y mae genau *cul* yn rhoi Adseiniad *clir*, cymwys iawn i gynnorthwyo y datganiad o llawenydd neu orfoledd. Y mae ffurf *ganolog* ar y genau, yn gymwys i ganeuon tawel ac heddychol. Caner yr adran ganlynol, yn 1af. ar y geiriau "Rahel am ei phlant sy'n wylo," yn ail, ar "Dyma'r gwron dewr yn dyfod," 3ydd ar "Dyma noswaith deg a thawel."

|d :s |f :r |r :f |m :d ||

Y mae o bwys i amaethu yr Adseiniad canolog fel *arferiad*, fel ag i amrywio oddiwrtho yn ol fel y bydd y teimlad yn gofyn. Y mae rhai personau yn defnyddio yr adseiniad pruddaidd *bob amser*, ac yn datgan pob teimlad gyda yr un wyneb a sain drymaidd.

Ym. **299.**—Dyweder gyda pha Adseiniad y dylid canu pob un o'r caneuon canlynol, a rhodder eich rhesymau dros eich barn,—"Taenodd Nos," tu dal. 22, "Angel Gobaith," tu dal. 48, a "Bryd y derfydd," tu dal. 74.

**Anadl-fanau.**—Yn ychwanegol at yr awgrymiadau a roddir er dewis lleoedd i anadlu ar tu dalenau 17 a 32, dylid sylwi fod cam bychan y raddfa **f m, t d**[I], **fe s, de r, ta l**, &c., yn cael ei roi allan bob amser yn fwyaf effeithiol pan y mae y sain gyntaf yn llithro i'r ail; ni ddylem byth gan hyny gymeryd anadl rhwng y cyfryw ddwy sain. Ni ddylem ychwaith, oberwydd yr un rheswm, gymeryd anadl rhwng anghydsain a'i hadferiad. Y mae yn wir *angenrheidiol* i gymeryd anadl o flaen *crescendo* nen adran chwydd-seiniol, neu o flaen sain hir-barhäol, neu o flaen adran o seiniau cyflym—neu "raniad" fel y mae yn cael ei alw. Dylid gofalu bob amser i wneyd hyn yn *gyflym* a *hawdd*, fel ag y ymyryd ond can lleied ag sydd yn bosibl, â'r rheolau blaenorol.

"Dylai y genau, medd Dr. Mason," gadw y ffurf oedd arno tra yn gwneyd y sain flaenorol, ac nid mewn un modd gymeryd y ffurf angenrheidiol i seinio y nodyn nesaf; ac ni ddylai y genau ychwaith fod yn gauad o gwbl wrth gymeryd anadl." Ni ddylai fod dim ocheneidio neu rhwngc wrth gymeryd anadl. "Dylid," ebe Sabilla Novello, yn ei llyfr ar y "Llais a'r Gelfyddyd o Leisio," "daflu yr anadl allan mor ochelgar ag sydd modd, a byddai yn burion i'r efrydydd i ystyried yr anadl yn fwy fel gallu ymwthiol i ddanfon allan y sain *trwy aros o'r tu ol iddo*, nag fel y sain ei hunan. Dylid cadw y fron a'r cyhyrau o dani ar *ymlediad parhaus*. Fel hyn fe ollyngir adgyflenwadau o awyr i mewn yn *fwy hawdd*, ac o ganlyniad arosant yn hwy, na phe byddai i furiau y fron gael eu goddef i ymgulhâu.

**Portamento**, neu *gludiad* y llais o un sain i un arall a wneir trwy ymlithriad cyflym a chysylltiol, neu yn fwy priodol trwy lithren. Gwel tu dal. 103. Mae y llais yn pasio trwy holl seiniau y cyfrwng, ond *gan lacio* yn nhafliad allan yr anadl. Gellir gwneyd hyn mewn canu unawdiau, ac ar ol ymarferiad maith a gofalus yn addurn prydferth iawn; ond y mae y dynwarediadau diog o hono ag sydd mor gyffredin yn mysg cantorion corau, yn aflafar ac anymunol i bawb oddigerth y canwr hunanfoddäol. Ond fe fydd, pa fodd bynag, yn ddefnyddiol i'r canwr mewn cor, mewn amgylchiadau pryd y mae yr adraniad cerddorol yn gwahaniaethu oddiwrth yr un geiriol. Trwy y Portamento gofalus, gellir cadw y cysylltiad cerddorol, tra y mae y gwahaniaeth geiriol yn cael ei wneyd. Ond nis gall fod dim lle i gymeryd anadl mewn Portamento.

**Amaethiad y Llais.**—Nis gellir cario allan amaethiad y llais ond i raddau bychain mewn dosbarth, ond bydd y profiad a enillir mewn dosbarth wedi ei amaethu yn dda, yn gefnogaeth i lawer dysgybl i ymofyn am ymarferiad ychwanegol yn nghlyw

athraw gofalus. Y mae yr anhawsder i amaethu y llais mewn dosbarth cymysg yn codi oddiwrth hyn, fod pob un o'r Saith "Rhan" (Gweler tu dal. 114) yn gofyn amaethiad cwmpas gwahanol a bod yn rhaid i'r lleisiau sydd yn canu yr un ymarferiadau ar yr un waith, wythawd oddiwrth eu gilydd, ddefnyddio rhestrau gwahanol ar yr un amser. Byddai, gan hyny, yn angenrheidiol (os rhaid gwylied toriadau a rhestrau), i ranu y dosbarth i Saith, neu o leiaf i bedwar, o leisiau, a byddai yn rhaid i'r lleisiau ereill ganu yr hyn a elwir yn "ail," *yn dyner*, tra byddai yr athraw yn talu sylw i'r un oedd yn myned trwy yr ymarferiad. Nis gellir amaethu y llais i ddim buddioldeb mewn dosbarth ond pan y mae y dysgyblion yn efrydu eu lleisiau eu hunain yn *ddeallus a sylwgar*. Gellir dinistrio lleisiau, o dan ofal dwylaw anfedrus neu esgeulus, trwy eu gorfodi i fyned i fynu i restrau annaturiol. Ni ddylai un athraw geisio cario dysgyblion yn bell yn yr efrydiaethau hyn, os nad ydyw wedi chwilio yn ofalus, ac wedi gwneyd adroddiad ar bob llais yn y dull a ddesgrifir yn y Gris o'r blaen. Bydd yn dda i'r efrydydd wybod ar unwaith fod dirgelwch ei lwyddiant yn gorwedd, nid yn ffurf neillduol ei ymarferiadau nac yn eu hamlder, na'u bod wedi eu hysgrifenu gan y gwr yma neu y llall,—ond yn eu defnyddiad mynych a'u gweithiad allan perffaith. Y mae Gustave Nauenburg yn ei "Ganu Dyddiol i bod Lleisiau," yn dyweyd, "fod y canwr enwog Farinelli eisioes yn medi ffrwyth ei enwogrwydd pan yr ymwelodd â'r athraw cerddorol Pistocchi i ofyn iddo am ei farn onest ar ei gyflawniadau blaenorol. Dywedodd Pistocchi, 'Y mae Natur wedi rhoddi i chwi holl ansoddau celfyddydwr mewn canu; ac ond i chwi fyned trwy ymarferiadau priodol i *ffurfio y llais* chwi ddeuwch yn ganwr gwir fawr.' Nid dyma'r ateb yr oedd Farinelli yn ei ddisgwyl; ond gan ei fod yn dymuno cyrhaedd y pwynt uchaf yn ei gelfyddyd, gofynodd am ganiatad i fyned trwy ei efrydiaethau gyda'r athraw teilwng. Derbyniodd Pistocchi y dysgybl pryderus. Yr oedd yr efrydiaethu yr aeth Farinelli drwyddynt bob dydd gydag aidd dyfalus, i gyd wedi eu hysgrifenu ar *un tu dalen*. Yn mhen blwyddyn danfonodd yr athraw ei ddysgybl allan fel canwr wedi ei gwblhau. "Beth all yr ymarferiadau ar yr un tu dalen hwnw fod?' sydd wedi cael ei ofyn yn fynych. Mae Herr Nauenburg yn ateb y cwestiwn hwn trwy ddyweyd eu bod yn ddiau yn gyfryw ag a fuasent bob dydd yn 1af, Yn dyfod a'r llais i *gywair* i seinio yn briodol y nodau i'r gwahanol gordiau. 2ail, I'w *gryfhau*, gan sicrhau nerth cyfartal ar ei holl seiniau; ac yn 3ydd, *Rhoi ystwythder* iddo. At yr amcanion hyn mewn llais-amaethiad y mae M. Seiler wedi ein dysgu i ychwanegu Ansawdd *(quality.)* Cyhoeddodd Herr Nauenburg ar *un tu dalen* ychydig o ymarferiadau syml *a hawdd* eu cofio, gyda'r amcanion hyn mewn golwg, ac y mae ymarferiadau y llyfr hwn, gyda'r amcan o enill nerth ac ystwythder, wedi eu cymeryd oddiwrth ef.

Y dull o *Ddefnyddio Llais-ymarferiadau* yn y dosbarth. Nid oedd i'r ymarferiadau a ddefnyddiwyd hyd yma gylch uwch na F♯ i feibion ac un-F♯ i ferched: ac nid oes un o honynt felly, oddigerth yr Ymarferiadau yn y Rhestrau eu hunain, wedi pasio dros unrhyw bwyntiau anhawdd o doriadau yn y Rhestrau. Ond y mae y dysgybl wedi dysgu bellach pa fodd i efrydu ei lais ei hun yn fwy manwl, ac y mae yn awyddus i'w amaethu i'w lawn helaethder. Fe wel ar tu dal. 114, fod cylch y seiniau sydd i gael eu hamaethu, a'r rhestrau a'r toriadau sydd i gael eu hyfrydu yn gwahaniaethu gyda phob math o lais, a bydd yn rhaid iddo "Solffeio ei doriadau" (tu dal. 118) o'r newydd gyda phob cyweirnod. Os bydd i'r dysgybl sefyll o flaen Modulator mawr y Llais,* nis gall beidio *gweled*, tra y mae yn canu, y Rhestr y mae ynddo, a lle ei doriad; ond gall mai buddiol yw dyweyd yn eglur pa rai yw y cyweirnodau trwy ba rai y dylai pob un o'r ymarferiadau hyn gael eu gweithio gan bob un o'r gwahanol leisiau, a pha rai ydyw'r nodau Sol-ffäyddol yn union o dan bob toriad yn mhob cyweirnod. Er fod defnyddiad Modulator y Llais yn gwneyd hyn *i gyd yn ddiangenrhaid*, fe wasanaetha i ddangos pa ofal neillduol sydd yn ofynol, hyd yn nod pan yn gwneyd y rhaniad anmherffaith i bedair o "ranau." Sylwer fod y lleisiau isaf yn mhob rhan i gael eu hesgusodi yn y seiniau uchaf, a'r lleisiau uchaf i beidio cael eu gorfodi ar y seiniau isaf. Dylid sylwi hefyd y gellir gwneyd pob un o'r ymarferiadau hyn yn "Ymarferiadau ehedegol," gan basio i fynu ac i lawr trwy yr holl ranau. I ehedeg i fynu, cychwynir ef yn y Bass, cymerir ef i fynu gan y Tenor mor fuan ag y mae y Bass wedi gorphen, gan gymeryd s am d, a chanu mewn cyweirnod newydd, yn cael ei gymeryd i fynu drachefn gan y Contralto mewn llywydd *newydd*,—ac unwaith drachefn yn yr un modd, gan ei daflu i dop y raddfa gan y Soprano. I ehedeg i lawr, cychwynir yr ymarferiad gan y soprano, a chymerir ef i fynu gan bob rhan is yn nghyweirnod yr *Is*lywydd.

*Cyf. Saf. (New.)*

(* "Modulator y Llais," pris 1s.)

YMARFERIADAU GYDA CHYLCH O DDEGFED (Ym. 301 hyd 303) y rhai sydd i gael eu gweithio fel hyn.

*Lleisiau y Bass.*—Cyweirnodau o F-dau ($F_2$) i C-un ($C_1$). Yn $F_2$ f' ydyw y sain islaw y toriad; yn $G_2$ r'; yn $A_2$ d'; yn $B_2$ t; in $C_1$ l.

*Lleisiau y Tenor.*—Cyweirnodau o C-un ($C_1$) i G-un ($G_1$). Yn $C_1$ l; yn $D_1$ s; yn $E_1$ y mae f a r' yn seiniau islaw y toriadau; yn $F_1$ f a d'; yn $G_1$ r a t.

*Lleisiau y Contralto.*—Cyweirnodau o E-un ($E_1$) i B♭-un (B♭$_1$). Yn $E_1$ s a r'; yn $F_1$ s a d'; yn $G_1$ f a t; yn $A_1$ r a l; yn B♭$_1$ r, s a r'.

*Lleisiau y Soprano.*—Cyweirnodau o $B_1$ i F♯. Yn $B_1$ d, s a r'; yn C d, f a d'; yn D m, t a m'; yn E r, l a r'; yn F d, s a d'; yn F♯ d, s a d'.

YMARFERIADAU GYDA CHYLCH O WYTHAWD (Ym. 304 hyd 307) y rhai y gellir eu gweithio mewn dau gyweirnod uwch, yn gystal a'r rhai a roddir uchod.

*Y Bass.*—Cyweirnodau o $F_2$ i $E_1$. Yn $D_1$ s; yn $E_1$ f.

*Y Tenor.*—Cyweirnodau o $C_1$ i $B_1$. Yn $A_1$ d a l; yn $B_1$ s.

*Contralto.*—Cyweirnodau o $E_1$ i D. Yn C d, f a d'; yn D m a t.

*Soprano.*—Cyweirnodau o $B_1$ i B♭. Yn G f a t; yn A m a l; yn B♭ r a s.

YMARFERIADAU GYDA CHYFEIRIAD I LAWR a ellir eu gweithio fel hyn.

*Bass.*—Ym. 308. Cylch o *ddegfed.* Cweirnodau C i lawr at A♭; Ym. 309 i lawr at $F_1$; ac Ym. 310 o C i lawr at D♭. Dim toriad.

*Tenor.*—Ym. 308. Cylch o *ddegfed.* Cyweirnodau i lawr at E♭; Ym. 309 i lawr at B♭; dim toriad; ac Ym. 310 o G i lawr at A♭. Yn D m'.

*Contralto.*—Ym. 308. Cylch o *ddegfed.* Gweirnodau B♭ i lawr at G. Yn B♭ $s_1$ a $r_1$; yn A $l_1$ a $r_1$; yn G $t_1$ a $f_1$; Ym. 309 i lawr at E♭. Yn F d a $s_1$; yn E♭ l; Ym. 310 o B♭ i lawr at C. Yn F $s_1$; yn E $f_1$; yn D $m_1$ $s_1$.

*Soprano.*—Ym. 308. Cylch o *ddegfed.* Cyweirnodau G i lawr at E. Yn G $t_1$, $f_1$; yn F d a $s_1$; yn E $s_1$; Ym. 309, i lawr at C. Yn D l; yn C d; ac Ym. 310, o F' i lawr at G. Yn F d', s; yn D m', m; yn C d', f; yn B s; yn A m'; yn G $f_1$.

**Sioncrwydd Lleisiol.**—Edrychir ar hawsedd ac ystwythder llais yn gyffredin fel doniau naturiol, ond y mae Madame Seiler wedi dangos eu bod mewn gwirionedd yn dibynu ar ffurfiad arferion neillduol yn ngweithrediad y peirianau lleisiol. Yn mhob sypiau o seiniau y rhai fo'n dilyn eu gilydd yn gyflym, rhaid gosod y pilenau lleisiol i ddirgrynu mewn ysgydwadau byr a chyflym, ac ar ol pob ysgydwad y mae gwrthdafliad naturiol fel cyflegr ar ol tanio. Mae yr anadl yn myned yn ol ac yn lledu pibell y gwynt, a thrwy hyny yn tynu y *larynx* i lawr. Gellir gweled yr ysgogiadau cyflym hyn yn eglur y tu allan i'r gwddf, ac felly gall y llais-amaethwr wylied a gweled a ydyw ei ddysgybl yn ffurfio yr arferiad ar ba un y mae cyflymdra y llais wedi ei adeiladu. Fe awgryma hyn y rheswm pam y mae yn bwysig fod i bob ymarferiadau mewn sioncrwydd gael eu gwneyd yn gyntaf yn araf a *piano*—oddigerth gyda'r Eidaliaid yn gyffredinol, a rhai personau o genedloedd ereill, i'r rhai y mae ysgogiadau priodol y *larynx* wedi tyfu eisoes yn ymarferiad ac yn ymddangos yn naturiol a greddfol. Y mae Madame Seiler yn cynghori defnyddiad ymarferiadau syml, gan ddefnyddio yn gyntaf y sill *cw.* Gweler tu dalenau 15 a 35. Bydded i bob un o'r ymarferiadau hyn gan hyny gael eu canu yn gyntaf ar y sill *cw* heb lithrenau, yn dyner ac araf—yn ail yn fwy cyflym ac uchel,—yn drydydd yn fwy felly fyth,—yn bedwerydd ar y llafariad mwy prydferth ac agored *â*, ac ar y gair *scâ-lâ*, gyda llithrenau a mynegiant fel y nodir.

**Ym. 300.** CYWEIRNODAU B♭$_1$ hyd at F. M. 60 hyd at 132.



**Ym. 301.** CYWEIRNODAU B hyd at E. M. 60 at 132.



*Cyf. Saf. (New).*

**Ym. 302.** Cywbirnodau **B** hyd at **E**. **M.** 60 at 160.

*p* *cres - cen - do.*

d .m :r .d |r .f :m .r |m .s :f .m |f .l :s .f |s .t :l .s |l .d' :t .l |t .r' :d' .t |d' :—

Scâ - - - - - - - - - - - - - lâ.

d :— |t, :— |d :— |r :— |m :— |f :— |s :— |d :—

*f* *di - min - - u - en - do.*

d'.m':r'.d' |t .r' :d'.t |l .d' :t .l |s .t :l .s |f .l :s .f |m .s :f .m |r .f :m .r |d :—

Scâ - - - - - - - - - - - - - lâ.

l :— |s :— |f :— |m :— |r :— |d :— |t, :— |d :—

**Ym. 303.** Cywbirnodau **B** hyd at **E**. **M.** 60 at 160.

:d .m |r .f :m .s |f .l :s .t |l .d' :t .r' |d' || m'.d' |r'.t :d'.l |t .s :l .f |s .m :f .r |d

Scâ - - - - - - - - lâ. || Scâ - - - - - - - - lâ.

:d |t, :d |r :m |f :s |d || d' |t :l |s :f |m :r |d

**Ym. 304.** Cywbirnodau **B** hyd at **F**. **M.** 80 at 160.

d :r .d .t, :d |r :m .r .de:r |m :f .m .re:m |f :s .f .m :f

Scâ - - - - - - - - - - - - - - - -

d :— :— |t, :— :— |d :— :— |r :— :—

s :l .s .fe:s |l :t .l .se:l |t :d'.t .le:t |d' :— :—

- - - - - - - - - - - - lâ.

m :— :— |f :— :— |s :— :— |d :— :—

d' :r'.d'.t :d' |t :d'.t .le:t |l :t .l .se:l |s :l .s .fe:s

Scâ - - - - - - - - - - - - - - - -

l :— :— |s :— :— |f :— :— |m :— :—

f :s .f .m :f |m :f .m .re:m |r :m .r .de:r |d :— :—

- - - - - - - - - - - - la.

r :— :— |d :— :— |t, :— :— |d :— :—

*Cyf. Saf. (New.)*

**Cryfder y Llais.**—Mae y tri ymarferiad canlynol yn rhai tra anhawdd eu gwneyd yn dda. Eu hamcan ydyw cryfhau y *swm* o lais pur—i ychwanegu gallu *daliadol* y fron, sef i ddal anadl digryn am tua deg ar hugam o eiliadau, ac i amaethu y gallu i basio o *forte* i *piano* ac i'r gwrthwyneb, heb golli yn ngraddeg y sain. Fe rydd yr athraw brawf ar raddeg pob ymarferiad ar ei orpheniad. Fe geidw y dysgybl mewn cof y sylw ar tu dal. 35 fod cryfder yn cael ei enill trwy ymarferiad lled orfodol, a thrwy arferiad gofalus o'r frawddeg crescendo, a'r sain ergydiol, ond bob amser, cofier, gyda *can lleied o anadl* ag sydd yn bosibl.

Ym. 305. Cyweirnodau B♭ hyd at A. M. 60 at 132.




Ym. 306. Cweirnodau B♭ hyd at A. M. 40.




*Cyf. Saf. (New.)*

Ym. 307. cy. B♭. at A. M. 72, 60, a 50.




*Cyf. Saf. (New.)*

**Amaethiad y llais tuag i lawr.**—Y mae ymron yr holl ymarferiadau mewn llyfrau ar amaethiad y llais wedi eu cyfaddasu er estyniad y llais tuag i fynu, ond y mae ar y seiniau isaf hefyd eisiau eu hamaethu gyda golwg ar nerth yn gystal ag ystwythder. Cafodd Mr. Proudman fod yr ymarferiad canlynol yn bur ddefnyddiol i amaethu lleisiau y Contralto a'r Bass ar gyfer Cor Arobryn Paris. Ychwanegir eto ddau ymarferiad oddiwrth athrawon ereill. Yr ydys wedi ychwanegu yma at yr ymarferiadau hyn ran *uwch* i gael ei chanu yn *piano*.

Ym. **308.** *Cres - - - - cen - do.* *dim.* *J.P.*

```
| d'  :—     |—     :—      | m  :s   | f   :—     | m  :r  | d  :—  ||
  Scâ  -  -    -  -   -  -    -    -    -    -  -     -   -    -  lâ.
| d'  :t .l  |s .f  :m .r   | d  :t,  | l,  :- .t, | d  :r  | m  :—  ||
```

Ym. **309.**

```
| d'  :—    | t    :—    | d'  :—  |—  :—  ||
| d'  :t .l | s .f :m .r | d   :—  |—  :—  ||
```

Ym. **310.**

```
| m  :—  |—  :f   | r   :—  | d  :—  ||
| d  :m  | d :s,  | f,  :—  | m, :—  ||
```

**Y Sigliad neu'r Ysgydwad.**—Mae hwn yn addurn sydd yn cael ei amaethu yn fawr gan y canwr unawdiau. Pan gyflawnir ef gyda gwastadrwydd a chywirdeb mawr y mae yn cynyrchu effaith ddymunol ar y gwrandawr. Y mae yn cael ei wneyd trwy daro yn gyflym bob yn ail â'r brif sain y sain sydd *uwch* na hi yn y raddfa. Pan y mae sigliad yn cael ei wneyd mewn diweddeb, yr ydys yn arfer ei ddechreu trwy acenu y *brif* sain. Fel hyn os y diweddeb fydd **r .r | d**, fe darawai y canwr **r m r m r m**, &c., gan acenu y **r**, a therfynu fel hyn:—**m r de r.** Pan y mae sigliad yn cael ei ddwyn i mewn yn nghwrs can, er mwyn addurniant yn unig, yr ydys yn ei ddechreu trwy acenu y sain uchaf fel hyn:—**m r m r m r**, &c., gan acenu y **m**, a diweddu fel hyn:—**m r de r m r.** Dywed Madame Seiler fod y sigliad mwyaf prydferth yn cael ei ffurfio trwy drydeddau, fel hyn:—**m r m r m r** gan acenu yn gyntaf y sain uchaf ac wedi hyny yr un isaf. Y mae hi yn cynghori fod y sigliad yn cael ei ymarfer yn gyntaf *bob amser yn piano*, ar y sill *cw* ar bob sain, ac wedi hyny gyda sillau ereill yn cael eu llithro. Rhaid i'r genau, meddai, barhau yn agored a sefydlog a'r tafod yn gorwedd yn berffaith lonydd. Rhaid canu y sigliad yn bur araf yn y dechreu; wedi hyny yn gyflymach gyflymach. Ond y mae yn peidio a bod yn sigliad y foment y mae y ddwy sain yn colli eu heglurder gwahaniaethol.

**Y Chwyddiad** ydyw yr arferiad o wneyd *crescendo a diminuendo* hirfaith ar bob sain o'r raddfa. Yr oeddid unwaith yn arfer llawer arno gan laiseithrinwyr ond cafwyd ei fod yn niweidiol i lawer o leisiau. Y mae Garcia yn siarad am dano fel y peth olaf i gyrchu ato. Y mae Madame Seiler yn ei gondemnio yn y grisiau cyntaf, ac y mae hyd yn nod Cruvelli wedi ei roddi i fynu yn rhan gyntaf ei gwrs. Y mae yn dra anhawdd i gyflawni yr ymarferiad hwn gyda gwastadrwydd perffaith, hyny ydyw heb rhoi ysgytiad herciol i'r sain; ac y mae yn neillduol o anhawdd i wneyd y *dimenuendo* gystal a'r *crescendo*. Yr oedd yn beth cyffredin yn y chwyddiad ar y seiniau dewisiadol i ganiatau i'r canwr newid y rhestr, fel ag i gael rhan ganol y chwyddiad ar y rhestr isaf a chryfaf o'r ddwy; yr oedd hyn hefyd yn gofyn medrusrwydd mawr. Ond pwy bynag sydd yn awyddus i gyrhaedd y gallu swynol yma—y llywodraeth berffaith hono ar y llais ar bob sain yn ei holl raddoliadau o allu, cynghorir ef i ymarfer yn feunyddiol, ac y fyned o dan ddysg athraw mewn llaisamaethiad.

**Yr Appoggiatura** (Seinier ef yn apojiatwra) sydd addurn-nod o flaen prif nod, ac yn cymeryd y lle sydd yn union uwchlaw neu odditani. Mae yr Appoggiatura hir yn cymeryd haner yr amser a berthyn yn briodol i'r nod o flaen pa un y mae yn cael ei gosod ac y mae yn cymeryd yr amser hwnw oddiar y nodyn hwnw. Y mae Haydn yn ysgrifenu fel hyn, **:m |f :— :s |m :— ||** Ond y mae trwy nodau yr Appoggiatura yn gorchymyn iddo gael ei ganu fel hyn, **:m |f :— :l .s |f :m ||** Nid oes dim arwydd yn Nodiant y Tonic Sol-fa am yr Appoggiatura hir, gan y bernir yn llawer gwell i ysgrifenu y nodau yn yr amser y bwriedir iddynt gael eu canu. Prin y gellir dyweyd fod yr *Appog-*

*giatura byr* yn cymeryd dim amser oddiar y nodyn o flaen pa un y mae yn cael ei gosod. Nid ydyw ond yn rhoddi math o "gnipws" i'r aceniad. Y mae yn cael ei ddangos yn Nodiant y Tonic Sol-fa trwy nodyn tebyg i trosglwydd-nod trawsgyweiriad, ond yn cael ei wahaniaethu oddiwrth hwnw, pa fodd bynag, trwy ei fod mewn llythyren Italaidd, fel hyn, *r*d

**Y Turn**—neu y Tro-nod.—Mae y Tro-nod cyfeiriol *(direct)* yr hwn yw y mwyaf cyffredin yn gyfansoddedig o dri o nodau, yn dechreu gyda'r un uwchlaw y brif sain. Fel hyn byddai |**f** :**f** |**m** :— gyda Thro-nod cyfeiriol ar yr ail **f** yn cael ei ganu fel hyn |**f** :**s**[s]**f**[m].**f** |**m** :— ‖ Gan y byddai ysgrifenu y Tro-nod hwn yn llawn yn lledu y gerddoriath yn ormodol, y mae yn well i arfer arwydd y nodiant cyffredin, fel hyn, ~. Mae y *Tro-nod gwrthdroadol* yn gyfansoddedig o dri o nodau yn dechreu islaw y prif nod. Fel hyn byddai |**d** :**d**, gyda *Thro-nod gwrthdroadol* ar yr ail nodyn yn |**d** :$t_1$**d**r.**d** ‖ Yr arwydd am hyn ydyw ∽. Pan y mae naill ai nodyn cyntaf neu olaf o'r tri i gael ei loni, fe ddangosid hyn trwy ysgrifenu, yn fan, y nodyn a gyfnewidid o dan neu uwchben y ~.

Felly fe genid re (se ~ m) fel hyn |**fe**m[s]**re**.**m** ‖ Caniateir i'r ddau Dro-nod hyn pan ddefnyddir hwynt mewn diweddeb gadw yr amser yn hwy, ond nid pan yn digwydd yn nghanol darn. Dylid eu taro gyda llais isel, ond yn bur glir. Mae y Tro-nod cyfeiriol yn rhoi yni yn y mynegiant, ac y mae'r tro-nod gwrthdroadol yn rhoi tynerwch ynddo.—Nid yw

"**Y Llais Naturiol,**" medd Nauenberg," ond y defnydd noeth, ag sydd i gael ei weithio i'w wneyd yn offeryn celfyddyd. Os bydd y llais yn ddiamaethedig er iddo fod o'r cyfansoddiad mwyaf fafriol, fe geir ochr yn ochr a'r seiniau mwyaf iachus a chryf, ereill sydd yn wanllyd afiach a gwichiol; mewn gair rhai annefnyddiol i bob bwrpas celfyddydol hyd nes yr amaethir ac y prydferthir hwynt. Yn wir y mae yr afreoleiddiadau mwyaf yn dyfod i'r golwg mewn lleisiau yn y rhai y mae dadblygiad naturiol yr offeryn wedi ei niweidio trwy ganu afreolaidd ac amrywiol ddylanwadau anianyddol. Pan enillir seiniau uchel oddiar natur, hwy a yspeiliant, yn raddol, y seiniau isel o'r sain glir hono ar y gwir *lais* a elwir genym yn *klang*, ac o'i *lawnder*. Tra bydd y corff, a chydag ef y peirianau lleisiol yn tyfu, mae yn ddiau y goddef y llais lawer iawn o gamdriniaeth, ond y mae yn siwr o fyned yn ei ol pan nas gall y nerth corfforol wrthsefyll triniaeth annaturiol. Mae y seiniau gwthiedig i fynu yn gystal a'r rhai i lawr yn fynych, yn colli eu llawnder a'u hyni, yn wir y mae toriad newydd hollol ar y llais yn cymeryd lle. Mae y cyfryw ganlyniadau yn dangos yn amlwg fod y seiniau hyn wedi eu *gwthio* neu eu gorthrechu ac nad oeddent wedi eu seilio ar natur yr offeryn."

Dylid ail fyned dros ymarferiadau ar y llais bob blwyddyn, ac ar agoriad cyfarfodydd canu, bob tymhor. Dylai pawb wneyd ymgais i feddu llais wedi ei *amaethu*. Gellir adnabod y llais amaethedig oddiwrth un arall trwy ei seiniau cyntaf. Nid oes dim modd camgymeryd dyn sydd *yn feistr ar ei offeryn*.

Yn Ddiweddaf, bydded i ni gofio dau beth. Yn gyntaf y dylid mwynhau hyd yn nod cerddoriaeth, yn "gymhedrol," a pho fwyaf sefydlog a chymhedrol y defnyddir hi, mwyaf *newydd* y bydd ein dymuniad am ei phleserau, a'r mwynhad a ddygir ganddi. Ac yn olaf, nad ydyw yr holl amaethiad lleisiol hwn ond yn rhoi *offeryn* tyner, ond effeithiol, yn ein dwylaw. Gwel, ddarllenydd, dy fod yn ei ddefnyddio i ddybenion uchel. Ymarfer dy hun i enill meddwl gostyngedig, gwir a llawen, a chlywer dy galon yn canu yn yd lais. Arfer y llais hwn er adloniant cymdeithasol—diniwed a dyrchafedig. Ond defnyddia ef yn fwy llawen i ganu i'r Arglwydd yn ei dŷ. Os nad yw y canu yn dy le o addoliad yn dy foddio, ymdrecha ei wella, ond yn gyntaf oll dangos dy fod yn bwriadu cyflawni dy *ddyledswydd bersonol dy hunan* yn y canu mawl yn *galonog*, pwy bynag fyddo yn arwain y canu, pa donau bynag a arferir, ac yn mha ddull bynag y chwareuir yr organ.

## CWESTIYNAU AR GYFER ARHOLIAD YSGRIFENEDIG NEU LAFAR.

### ATHRAWIAETH.

1. Beth a feddylir wrth drawsgyweiriad o ddau symudiad? Pa seiniau o'r hen gyweirnod sydd yn cael eu blotio allan wrth fyned i'r ail gyweirnod llon, a pha seiniau o'r cyweirnod newydd sydd yn cael eu dwyn i mewn? Pa fodd y mae hyn yn symud y cyweirsain? Wrth fyned i'r ail gyweirnod lleddf, pa seiniau o'r hen gyweirnod sydd yn cael eu blotio allan, a pha seiniau o'r newydd sydd yn cael eu dwyn i mewn? Pa fodd y mae hyn yn symud y cyweirsain? Tu dal. 126.

2. Pa deimlad y mae yr ail symudiad llon yn ei ddynodi?—pa deimlad yr ail leddf? I ba bwrpas y mae *prif* ail symudiad yn cael ei arfer yn benaf? Pa fodd y mae ail symudiad *israddol* yn cael ei ddefnyddio yn gyffredin.

3. Pa rai ydyw'r tri phwynt i sylwi arnynt wrth gynorthwyo dysgyblion i feistroli trawsgyweiriad? Beth ydyw y pethau sydd yn gwneyd rhai trawsgyweiriadau yn haws nag ereill? Pa bethau sydd yn eu gwneyd yn fwy anhawdd?

4. Mewn trawsgyweiriadau o dri symudiad lleddf, pa Foddnewidiad sydd yn gyffredin yn cymeryd lle? Pa Foddnewidiad sydd yn gyffredin yn cydfyned a thri symudiad llon? Pa gyfnewidiadau anianyddol a ellir neu ni ellir eu gwneyd mewn trawsgyweiriadau o dri symudiad? Beth ydyw effaith feddyliol cyffredin tri symudiad lleddf? Tri symudiad llon?

5. Pa rai ydynt yr egwyddorion cyffredinol a ddylent ein harwain wrth benderfynu cyflymdra symudiad, a graddau Nerth wrth ganu? Pa un y dylid talu mwyaf o sylw iddo, y geiriau penodol, ynte yr agwedd meddwl yn mha un y traethir hwynt? Rhodder engraifft. Pa ymarferiad yn nglyn â'r pwngc hwn sydd fwyaf ei werth? Tu dal. 140.

6. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu yn uchel a chyflym? Enwer pedwar math, gydag esiamplau o bob un.

7. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu yn uchel ac araf?

8. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu yn dyner ac araf. Enwer pum math, gydag esiamplau o bob un.

9. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu yn dyner a chyflym? Enwer tri math, gydag esiamplau o bob un.

10. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu gyda chyfnewidiad graddol o uchel i dyner? Rhodder esiamplau o'r cof.

11. Beth ydyw effaith feddyliol cyfnewidiad sydyn o uchel i dyner ar seiniau sengl? Rhodder esiamplau.

12. Pa fath frawddegau a ddylent gael eu canu gyda chyfnewidiad graddol o dyner i uchel? Rhodder esiamplau.

13. Beth ydyw effaith feddyliol cyfnewidiad o dyner i uchel ar sain sengl? Rhodder esiamplau.

14. Pa fath frawddegu sydd yn fwy pwysig na rhaniad a marciad priodol rhanau melawd? Pa arferiad a ddylai y canwr ei ffurfio er mwyn canfod yn gyflym frawddegiad y geiriau. Pan nad yw brawddegiad cerddorol a geiriol yn cytuno, pa un o'r ddau a ddylai ildio? Mewn canu corawl, beth sydd yn bwysig mewn perthynas i frawddegiad? Tu dal. 145.

15. Pa mor aml ddylai yr ymarferiadau ar gynanu yn y gris hwn gael eu hailgodi. Yn mha amgylchiadau y bydd meistrolaeth ar y cydseiniaid yn gwneyd canu yn ddeallus, heb lawer o efrydiaeth ar y llafariad? Yn mha fath o ganu y mae efrydiaeth y llafariaid yn anhepgorol angenrheidiol er eglurder a phrydferthwch? Yn mha un o elfenau llafar y mha y gwahaniaethau lleol a'r geiriau gwerinol yn benaf yn dangos eu hunain. Yn mha bethau y mae y llafariaid a elwir yn gyffredin yn rhai byr yn amrywio oddiwrth y rhai hir? Beth ydyw y gelfyddyd newydd o arllwysiad y llafariaid sydd gan y canwr i'w dysgu, ond nad oes ar y siariadwr ei eisiau? Tu dal. 146.

16. Os bydd ceudodau y gwddf a'r genau yn cael eu dal yn agored a sefydlog mewn un ffurf, tra y mae llais yn cael ei gynyrchu, pa elfen llafar fydd y canlyniad? Pa nifer o lafariaid sydd yn bosibl? Enwer y prif lafariaid, gan fyned i fynu yn nhrefn eu huchder naturiol?

17 hyd 37. [Mae y cwestiynau hyn yn dwyn perthynas â'r Ymdriniaeth ar y llafariaid Seisnig yr hyn yr ydym wedi ei adael allan yn y Cyfieithiad Cymreig. Cyf.]

38. Beth ydyw y priodoliaethau cerddorol sydd yn briodol i Atebiad? Tu dal. 147.

39. Beth ydyw hanfodion Treithgan? Desgrifier ffurf y Dreithgan Seisnig. Beth ydyw dau o'r beiau cyffredin yn nghyfansoddiad y Dreithgan Seisnig?

40. Pa fodd y dechreuodd yr hymndon ddiweddar? Beth ydyw rhai o'r diffygion yn eu cyfansoddiad sydd yn fynych yn eu gwneyd yn anghyfaddas i leisiau cynulleidfa?

41. Pa fodd y mae cyflymder hymndon yn effeithio ar ei nodwedd cynghaneddol?

42. Pa fodd y mae cyflymder tôn yn effeithio ar yr argraff mydryddol y mae yn ei gynyrchu, a pha fath gyflymder sydd yn gofyn am sylw mwy agos ar gyfartaledd a mantoliad mydryddol? Tu dal. 148.

43. Pa fath donau sydd fwyaf cymhwys i'r hymnau llon a bywiog a pha fodd y mae hymnau o'r nodwedd yma yn newid eu heffaith feddyliol pan genir hwynt yn araf? Pa fath donau sydd yn fwyaf cyfaddas i hymnau o syniadau llon, a pha fodd y mae y cyfryw donau yn newid eu heffaith feddyliol wrth eu canu yn araf?

44. Pa fath donau sydd fwyaf cyfaddas i hymnau o natur athrawiaethol ac amrywiol?

45. Pa fodd y gall Blaenor y gan adgofio cynulleidfa oreu am gyfnewidiad yn nheimlad yr hymn, a sicrhau y mynegiant priodol?

46. Pa fodd y mae anthemau yn gwahaniaethu yn hanfodol oddiwrth yr hymn-donau yn eu hamcan ac yn eu nodwedd cerddorol? Pan y mae anthemau wedi eu bwriadu at wasanaeth cynulleidfa, pa anhawsderau cerddorol a ddylent gael eu hosgoi? Eglurer y geiriau, *Decani, Cantoris, Llawn, Verse.*

47. Beth ydyw teithi cerddorol y Madrigal? Pa fath deimlad sydd yn fynych yn hynodi y Madrigal? Beth ydyw Ballet?

48. Ar gyfer pa neillduolion mewn trefniant lleisiol yr oedd y Glee Seisnig wedi ei chymwyso yn arbenig? Pa fathau o'r Glee a oddefant nifer o leisiau ar bob rhan?

49. Pa fodd y mae'r Rhan-gan yn amrywio oddiwrth y Glee, a pha fodd y mae yn gwahaniaethu oddiwrth y Madrigal? Pa fodd y mae yr aláw wedi ei chynghaneddu yn gwahaniaethu oddiwrth y Rhan-gan? Tu dal. 149.

50. O ba le y cyfyd pwysigrwydd cerddoriaeth i amryw leisiau? Tu dal. 152.

51. Ar gyfer pa drefniant lleisiol y mae cydganau yr oratorio yn gyfaddas yn arbenig?

52. Beth ydyw arddull Cydganau yr opera? Tu dal. 152.

53. Beth ydyw Canon; a pha beth a feddylir wrth ganon "pedwar mewn dau?"

54. Pa fodd y mae canred yn amrywio oddiwrth y canon? Tu dal. 150.

55. Beth ydyw hanfodion y Fugue (Canred), a pha ddyfeisiau cerddorol ereill sydd yn angenrheidiol i ganred ddadblygedig lawn? Pa fath ddarnau a ellir eu galw yn frawddegau neu symudiadau canredol yn hytrach na chanredau?

56. Beth ydyw Testyn mewn Canred a pha beth a feddylir wrth ei wahanol ddadblygiadau?

57. Beth ydyw Atebiad mewn Canred? Pa le y mae yn dechreu y tro cyntaf y mae yn digwydd, a beth ydyw rhai o'r gwahanol ffyrdd y mae yn cael ei drin?

58. Beth ydyw Gwrth-destyn mewn Canred? Pa ffurfiau ereill sydd yn fynych yn cymeryd lle un Gwrth-destyn penodol?

59. Beth ydyw Stretto, a pha beth ydyw ei heffaith ar y teimladau?

60. Beth ydyw Organ-point a pha beth ydyw ei effaith?

61. Pa fodd y mae Recitative yn gwahaniaethu oddiwrth adroddiad neu ddatganiad da mewn Treithgan? Pa fodd y dylid canu Recitative, a pha beth ydyw ei defnydd penaf? Tu dal. 152.

62. Beth ydyw Opera, a phaham y mae cyfuniad o gelfyddydau yn methu cynyrchu y dadblygiadau uchaf mewn unrhyw un o honynt?

63. Beth ydyw Oratorio, a pha fodd y mae yn amrywio oddiwrth yr Opera?

64. Beth ydyw Cantata?

65. Pa gynlluniau corawl sydd yn oddefol pan y mae Cyfansoddwyr yn ysgrifenu "rhanau" sydd y tu hwnt i derfynau teg llais y cor? Tu dal. 153.

66. Yn mha ystyr y mae pibell gerddorol lydan yn gwahaniaethu yn ei heffaith oddiwrth un gul? Pa fath adseiniad, neu *timbre* a gynyrchir gan enau llawn—estynedig—pa fath gan enau cul—pa fath gan enau o ffurf a maint canolog?

67. Mewn pa fanau mewn melawd y dylem beidio cymeryd anadl, ac yn mha fanau yr ydym yn gorfod gwneyd hyny?

68. Pa fodd y gwneir y Portamento? Yn mha amgylchiadau y dylai gael ei ddefnydio mewn canu Unawdiau, ac mewn canu corawl?

69. O ba le y cyfyd yr anhawsder o gario allan llais—ymarferiadau mewn dosbarth gymysg? Yn mha amgylchiadau yn unig y gall amaethiad y llais mewn dosbarth fod yn fuddiol? Yn mha amgylchiadau y mae yn debyg o fod yn niweidiol? Beth ydyw dirgelwch llwyddiant mewn llais—ymarferiadau? Pa rai, yn ol Nauenburg ydyw i tri nod a ddylai fod o'n blaen yn amaethiad y llais? Pa nod arall y dylid ei gadw mewn golwg?

70. Beth ydyw defnydd Modulator y llais? Tu dal. 153.

71. Pa fodd y sicrheir ystwythder llais?

72. Trwy ba fath ymarferiad y cedwir nerth y llais?

73. Beth ydyw defnydd arbenig ymarferiadau tuag i lawr i amaethu y llais?

74. Yn mha beth y mae y sigliad neu'r ysgydwad yn gynwysedig? Yn mha amgylchiadau y bydd y canwr yn gyffredin yn acenu y brig sain, a pha fodd y mae yn diweddu? Yn mha amgylchiadau y sain uchaf, a pha fodd y bydd y pryd hwnw yn terfynu? Pa fodd y mae Madame Seiler yn cynghori ar fod i'r Sigliad gael ei ymarfer?

75. Beth ydyw chwydd-nod? Paham y mae wedi cael ei esgeuluso yn y grisiau cyntaf?

76. Beth ydyw yr appoggiatura hir, a pha fodd y mae yn cael ei ddangos yn Nodiant y Tonic Sol-fa? Beth ydyw yr appoggiatura byr, a pha fodd y dangosir ef yn Nodiant y Tonic Sol-fa? Tu dal. 159.

77. Beth ydyw y Tronod cyfeiriol a pha fodd y mae yn cael ei ysgrifenu? Beth ydyw y Tronod gwrthdroedig, a pha fodd yr ysgrifenir ef?

78. Pa afreoleidd-derau a geir yn gyffredin yn y llais naturiol diamaethedig? Pa niwed a gynyrchir gan y seiniau uchel a yspeilir oddiar natur?

79. Pa ddau beth y rhaid i ni gadw mewn cof yn barhaus, os ydym am gasglu y mwynhad uchaf sydd yn bosibl oddiwrth gerddoriaeth?

## YMARFERIAD.

80 Caner eich rhan yn Ym. 243 hyd 248, pa un bynag a ddewiso yr Holydd.

81. Yr un gydag Ym. 249 hyd 255.

82. Gweithier Ym. 256 hyd 259, pa un bynag a ddewiso'r Holydd.

83. Gweithier Ym. 260, 261, pa un bynag a ddewiso yr Holydd.

84. Gweithier Ym. 262 hyd 271, pa un bynag a ddewiso yr Holydd.

85. Gweithier Ym. 272, 273, pa un bynag a ddewiso yr holydd.

86. Caner unrhyw un o'r Ym. 274 hyd 280 a ddewiso yr Holydd.

87. Caner unrhyw un o'r Ym. 281 hyd 291, a ddewiso'r Holydd.

88. Caner Ym. 292.

89. Caner unrhyw un o'r Ym. 293 hyd 298, a ddewiso'r Holydd.

90 hyd 108. [Ymarferiadau ydyw y rhai hyn ar y llafariaid Seisnig. Cyf.]

109. Heb gyfeirio at y Cyf. Saf. ysgrifener dadelfeniad o "Dangosi i mi," Ym. Ych. Tu dal. 7.

110. Ysgrifener dadelfeniad o'r efelychiadau canredol yn "Haleliwia Amen" Ym. Ych. Tu dal. 26.

111. Ysgrifener dadelfeniad canredol o'r symudiad cyntaf yn "Dyma gân" Ym. Ych. Tu dal. 66.

112. Ysgrifener dadelfeniad canredol o'r ail a'r trydydd symudiad yn "Dyma gân" Ym. Ych. Tu dal. 67.

113. Ysgrifener dadelfeniad canredol o "Mor weddaidd" Ym. Ych. Tu dal. 58.

114. Ateber y gofyniad yn Ym. 299.

*Cyf. Saf. (New)*

## EGLURHAD AR, NEU EIRIAU SEISNIG AM RAI O'R GEIRIAU ANSATHREDIG YN Y CYFIEITHIAD HWN.

NODIAD.—Gan fod y Parch. J. Roberts (Ieuan Gwyllt) wedi cyfieithu rhai o lyfrau Mr. Curwen eisioes, yr ydwyf, er mwyn unffurfiaeth wedi cadw at yr un geiriau Cymraeg ag yntau hyd y gallaswn, pan yn cyfieithu termau arbenig Mr. Curwen. Os ydwyf, trwy amryfusedd neu o fwriad, wedi cyfieithu rhai o'r termau hyny yn wahanol iddo ef, yr wyf yn yr eglurhad hwn yn rhoi geiriau Mr. Roberts hefyd, ac er mwyn eu gwahaniaethu yn eu rhoi rhwng cromfachau.—CYFIEITHYDD.

**ADRAN**, *Phrase.*—Gwel tu dal. 74.
**ADRODDSAIN**, *Reciting-tone.* Datgansain, treithsain, —y sain hono mewn Treithgan (*Chant*) ar ba un y mae y geiriau yn cael eu hadrodd neu eu datganu cyn dyfod at y diweddeb, neu'r disgyneb.
**ANGHYDSAIN**, *Dissonant.* Gwel CYDSAIN.
**BEUDAG**, *Glottis.* Y mae y gair *Glottis* yn air Groeg yn arwyddo tafod, ond yn cael ei ddefnyddio am agoriad y *larynx* neu y fynedfa i bibell y gwynt.—Gwel tu dal. 1.
**CANRED**, *Fugue*, ehediant. Gwel tu dal. 150.
**CEUDYLLAU**, *Cavities.* Lleoedd gwag.
**CORD AMHEUS**, *Unmeaning chord.* Cord diystyr.
**COLL-DRAWSGYWEIRIAD**, *Missed transition.*—Gwel tu dal. 58.
**CYDSAIN**, *Consonant.* Yr ydys wedi ceisio cadw y geiriau cydsain a chydseiniau am *consonant* a *consonants* a'r geiriau anghydsain ac anghydseiniau am *dissonant* a *dissonants*, mewn cerddoriaeth, fel y gellir cadw y geiriau cydseiniad a chydseiniaid am *consonant* a *consonants* mewn Grammadeg.
**CYFNEWIDIAD ANIANYDDOL**, *Physical changes.*
**CYFEILIANT**, *Accompaniment.*
**CYHYRAU**, *Muscles.* Y rhanau hyny o'r corff sy'n peri ysgogiad.
**CYNANIAD**, *Articulation, Pronunciation.* Seiniad clir ar eiriau.
**CYNDARAWIAD**, *Forestroke.* (Blaenergyd).
**CYNDARAWIAD GWASTAD**, *Horizontal forestroke.* (Blaenergyd gwastadgyfeiriol—neu orwelog).—Gwel tu dal. 73.
**CYNDARAWIAD GWYROG**, *Oblique forestroke.* (Blaenergyd gwyrgyfeiriol).—Gwel tu dal. 74.
**CYNDARAWIAD YMDONOG**, *Waving forestroke.* (Blaenergyd gwyrgyfeiriol).—Gwel tu dal. 74.
**CYNLLUN**, *Pattern.* Patrwm—sef gwaith yr Athraw yn canu neu yn gwneyd sain ei hunan fel y gallo y dysgyblion ei efelychu.
**CYSODIAD**, *Score.* Y gerddoriaeth i'r gwahanol leisiau neu "ranau" wedi eu *cydosod* gyda'u gilydd. Weithiau y mae *score* neu linell yn cael ei thynu yn nechreu y mesurau trwy y gwahanol ranau i'w cysylltu â'u gilydd.
**DATGANIAD**, *Recitation.* Adroddiad, treithiad. Gwel Adroddsain.
**DOSRAN**, *Section.*—Gwel tu dal. 74.
**DIWEDDEB**, *Cadence.* Disgyneb.
**DWYAIN**, *Duain.*—Gwel tu dal. 75.
**GOLLYNGIAD**, *Release.*—Gwel tu dal. 102.
(**GRADDEG**), *Pitch.* Traw. Uchder sain ar y raddfa sefydlog.
(**GRISWEDDOG**), *Stepwise.* O ris i ris—pob yn gam—sef o'r naill sain i'r un nesaf ar y raddfa.
**HOENGAN**, *Glee.* Canig Gwel tu dal. 149.
**HYMN-DON**, *Hymn-tune.* Gwel Salm-don.
**KLANG.** Gair yn dynodi llais pur, clochaidd. Yr ydym fynychaf wedi ei gyfieithu yn sain glir, neu leisiadaeth bur.
**LARYNX.** Rhan uchaf pibell y gwynt.
**PILENAU**, *Membranes.*
**RHAGDARO**, *Anticipate.*—Gwel tu dal. 73.
(**RHAGFUDIAD**), *Progression.* Symudiad—symudiad yn mlaen.
**RHAN**, *Part.* Yr ydys rhai troion yn y dechreu wedi defnyddio y gair llais am *part* megis "ton gron i bedwar *llais*," sef pedair *rhan.*
**SAIB**, *Rest.* Gorphwysnod, Gorphwysiad.
**SAIN**, *Tone.* Yr ydys wedi arfer y gair sain am *tone*, a'r gair Tôn am *Tune*, gan y gall arfer yr un gair tôn am y geiriau *tone* a *tune* beri dyryswch.
**SAIN FYNEDOL**, *Passing-tone.* Sain basiadol. (Pasdon).
**SAIN GYDGYFNEWIDIADOL**, *Alternative-tone.* Gwel tu dal. 133.
**SALM-DON**, *Psalm-tune.* Ton Gynulleidfäol.
**SEINIAU DEWISIADOL**, *Optional-tones.* Seiniau y gellir eu canu yn y naill restr neu'r llall, fel y byddis yn dewis.
**SEINIAU SENGL PARHAOL**, *Prolonged single tones.*—Gwel tu dal. 197.
**SEINIAU DAMWEINIOL**, *Accidentals.* (Digwyddolion).
**SEINIAU DIRWASGOL AC ERGYDIOL**, *Pressure and explosive tones.*—Gwel tu dal. 134.
**SEINIAU YMDONOL**, *Waving-tones.* (Chwif-donau).—Gwel tu dal. 73.
**SEINIAU YN YMHONGIAN**, *Hanging-tones.* (Crogdonau).—Gwel tu dal. 159.
**SIGLIAD**, *Shake.* Gwel tu dal. 159.
**TEIRAIN**, *Triain.*—Gwel tu dal. 75.
**TEITH-DONAU**, *March-tunes.*
**TORACENIAD**, *Syncopation.* Rhagaceniad.
**TRAW**, *Pitch.* Gwel GRADDEG.
**TON**, *Tune.*
**TROSGLWYDDSAIN**, *Bridge-tone.* Sain drosglwyddiadol. (Pont-don).—Gwel tu dal. 55.
**TREITHGAN**, *Chant.* Treithiad o eiriau cysegredig (nid y Salmau yn unig) ar un sain, gyda disgyneb. (Salm-don).

# COLEG Y TONIC SOL-FA.

SWYDDOGION—JOHN CURWEN, Llywydd, ROBERT GRIFFITHS, North St., Plaistow, London, E, Ysgrifenydd.

*** Am hyspysrwydd pellach gweler *Calendar* y Coleg, a gyhoeddir yn flynyddol, pris 6ch., neu ymofyner â'r Ysgrifenydd.

## TYSTYSGRIFAU O FEDRUSRWYDD CERDDOROL.

### TYSTYSGRIF YSGOL PLANT IEUAINGC,

*Neu Arholiad Rhagbaratöawl, at ddewisiad yr Athraw, i Ddosbarthiadau Hwyrol.*

[Gall Athrawon neu eu Cynnorthwywyr yn dal y Dystysgrif Elfenol ganiatau hon.]

1.—Dyger ar wahanol ddarnau o bapur enwau tair o donau, a phwyntier a Sol-ffäer o'r cof un o'r tonau hyn a ddewiser trwy goelbren.

2.—Caner ar un sain, ar y sill *la*, mewn amser cywir unrhyw un o Rhif. 1 hyd 9 o'r "Mydrau Elfenol" *(Elementary Rhythms)* a gymerir trwy goelbren. Caniateir dau ymgais.

3.—Dilyner yr holydd mewn rhydd-ymarferiad trwy lawarwyddion, neu ar y Modulator, gan symud yn ol y cyflymder o M. 60, ac yn gyfansoddedig o ddim llai nag un ar bymtheg o fesurau dau guriad, ac yn cynwys neidiadau at unrhyw un o seiniau y raddfa; ond heb ddim trawsgyweiriad na'r modd lleiaf.

4.—Ateber yn gywir unrhyw un a ddewiso'r athraw o'r ymarferiadau yn perthyn i ddosbarth A, yn yr ail a'r trydydd grisiau o "Awgrymiadau i Glust-ymarferiadau" (*h.y.*, Rhif. 76 hyd 121, a 160 hyd 175) neu unrhyw ymarferiad cyfartal.

### Y DYSTYSGRIF ELFENOL,

*Yn gwneyd ei meddianydd yn ddysgybl addefedig o Drefn y Tonic Sol-fa, ac yn hanfodol er ymddangos yn anrhydeddus a theilwng mewn unrhyw gyngherdd gyhoeddus yn proffesu dangos ffrwyth ein haddysgiant elfenol.*

[Gall y rhai sydd yn dal y Dystysgrif Cynydd roddi yr un Elfenol.]

1.—Dyger ar wahanol ddarnau o bapur enwau chwech o donau, a phwyntier a chaner ar y Modulator o'r cof, un o'r tonau hyn a ddewiser trwy goelbren.

2.—Caner ar unrhyw sain ar y sill *la*, mewn amser perffaith gywir, unrhyw ddau o'r "Mydrau Elfenol," a ddewiser trwy goelbren. Caniateir dau gynyg.

3.—Dilyner pwyntiad yr holydd mewn rhydd-ymarferiad ar y Modulator, gan symud yn ol M. 60, yn cynwys trawsgyweiriad i un o'r colofnau ar yr ymyl, yn ol y "drefn oreu."

4.—Tarawer gyda help seinfforch, Sol-ffäer heb fod fwy na theirgwaith, ac wedi hyny caner ar eiriau, neu ar y sill agored *la* unrhyw "ran" mewn ton gynulleidfäol, yn Nodiant y Tonic Sol-fa, *na welwyd o'r blaen*—ond un heb fod o angenrheidrwydd yn cynwys brawddegau o drawsgyweiriad, neu y modd lleiaf, neu unrhyw raniadau o amser llai na churiad cyflawn.

5.—Dyweder oddiwrth y glust, enw Sol-ffäyddol, unrhyw dair sain yn dilyn eu gilydd o ris i ris (sef megis ar y raddfa)—ond nid i fod yn **m r d**—a seinir gan yr athraw ar y sill *scâ;* yr holydd i roddi y cyweirnod a'r cord. Caniateir dau ymgais.

### Y DYSTYSGRIF CYNYDD,

*Yn galluogi ei meddianydd i holi am yr un Elfenol—yn caniatau arholi am Dystysgrif Athraw y Dosbarth Ieuangc—yn paratoi at Dystysgrif Aelod, ac yn un hanfodol i aelodaeth anrhydeddus a theilwng o unrhyw gymdeithas gorawl, lle nad oes cwrs rheolaidd o addysg yn cael ei roddi.*

[Gall y rhai sydd yn dal Tystysgrif Aelod, gyda H.N. (Hen Nodiant) ganiatau yr un Cynydd ar ol i'w henwau ymddangos am fis yn y *Tonic Sol-fa Reporter* yn ddiwrthwynebiad.]

1.—Dyger prawf eich bod wedi cymeryd y Dystysgrif Elfenol, ac os bydd yr Holydd yn dewis, ewch drwy yr arholiad elfenol drachefn.

2.—Dyger ar wahanol ddarnau o bapur enwau deunaw o donau, a phwyntier ar y Modulator unrhyw un o'r rhai hyn a ddewiser trwy goelbren. Fe *all* chwe thon y Dystysgrif Elfenol gael eu cynwys yn y deunaw.

3.—Caner ar un sain, ar y sill *la*, mewn amser perffaith gywir, unrhyw ddau o'r "Mydrau Canol" a gymerir trwy goelbren. Caniateir dau ymgais.

4.—(*a*) Sol-ffaer ar yr olwg gyntaf, ac wed hyny caner ar y sill *la*, oddiwrth Nodiant y Tonic Sol-fa, unrhyw don neu ran o don a ddewiso'r holydd, yn

cynwys trwasgyweiriad i'r golofn gyntaf ar y Modulator Helaethedig. (*b*) Sol-ffäer mewn sain ac amser cywir unrhyw un o'r "Brawddegau yn y Modd Lleiaf" a ddewiser trwy goelbren.

5.—Ysgrifener i lawr oddiwrth y glust, neu dyweder wrth yr holydd pa fodd i ysgrifenu nodau Sol-fa dwy adran syml, na chlybuwyd o'r blaen—yr holydd i roddi y cyweirnod, ac yn canu y don ar *la*, ond nid mwy na thair gwaith.

[6.—Sol-ffäer *ar yr olwg* gyntaf, ac wedi hyny caner ar eiriau, unrhyw don salm gyffredin sillol (sef nod i bob sill) yn yr *Hen Nodiant*.] Nid ydyw y gofyniad hwn yn un orfodol, ond os gwneir ef, nodir y ffaith ar y dystysgrif.

## TYSTYSGRIF AELOD.

***Tystysgrif o Amaethiad Cerddorol Cyffredinol, yn caniatau aelodaeth o Goleg y Tonic Sol-fa, ac yn gymhwysder i gymeryd arweiniad mewn Cymdeithasau canu, a bod yn Flaenor y gan mewn Addoldai.***

Am fanylion y Dystysgrif hon ymofyner â'r Ysgrifenydd. Ymofyner ag ef hefyd am fanylion y "Dystysgrif Cyrhaeddiad Gwybodaeth Gerddorol Gyffredinol," a'r "Dystysgrif Rhagoriaeth Mewn Canghenau Arbenig Gwybodaeth." Mae y rhai sydd yn dal y Tystysgrifau hyn yn arfer cael y llythyrenau T.R. (neu A.C. *sef Advanced Certificate*) ar ol eu henwau yn eu cysylltiad a Sol-fa. Y mae hefyd Dystgrif Offerynau.

## ANRHYDEDD AM WYBODAETH ATHRAWIAETHOL.

Mae y rhai sydd yn cymeryd tystysgrifau o fedrusrwydd ymarferol mewn cerddoriaeth, yn cael eu hystyried yn deilwng o anrhydedd arbenig, os gallant hefyd basio arholiad (mewn ysgrifen) ar byngciau o Athrawiaeth neu ddamcaniaeth *(theory)*. Am "Anrhydedd" yn nglyn a'r Dystysgrif Elfenol gofynir i'r dysgybl ateb cwestiynau a roddir yn niwedd pob gris o'r gwaith hwn, ar natur mesur, curiad, raniadau curiad, y raddfa, effaith feddyliol seiniau yn cael eu canu yn araf, ac ar Nodiant syml. Mae yr Anrhydedd am Wybodaeth ddamcanol yn nglyn â'r Dystysgrif Cynydd i'w gael trwy ateb cwestiynau cyffelyb ar Amaethiad y llais, Anadlfanau, Dosbarthiad lleisiau, Efelychiad, Cynghanedd, Trawsgyweiriad o un symudiad, y Modd lleiaf a Mynegiant, mor bell ag y mae y pyngciau hyn yn cael eu trin yn mhedwar gris cyntaf y llyfr hwn. Mae yr Anrhydedd mewn gwybodaeth ddamcanol yn nglyn â'r Dystysgrif Aelod yn cynwys Brawddegiad, Trawsgyweiriad, Moddnewidiad Trawsgyweiriadol, Ffurf Cerddorol, ac Chynaniad fel y trinir hwynt yn y pedwerydd y pumed a'r chwechfed gris o'r llyfr hwn, ac o Gynghanedd fel y trinir ef yn "Pa fodd i sylwi ar Gynghanedd," argraffiad newydd. Mae Anrhydedd mewn Gwybodaeth ddamcanol yn nglyn a'r Dystysgrif Rhagoriaeth yn gofyn gwybodaeth o'r rhanau egluriadol o'r "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth." Gellir cael gwybodaeth bellach am y Dystysgrif hon gan yr Ysgrifenydd.

## TYSTYSGRIFAU ATHRAWON.

Nid ydyw y Cynghor eto (Gorphenaf, 1872) wedi penderfynu ar fanylion Tystysgrif uchaf Athrawon; ond bydd yn ddiau yn seiliedig ar y Dystysgrif Aelod gydag Anrhydedd mewn Damcaniaeth. Mae Tystysgrif Athraw yn bresenol yn gofyn y Dystysgrif Cynydd, gydag Anrhydedd mewn Damcaniaeth, adroddiad ffafriol o fedrusrwydd mewn dysgu, adroddiad ffafriol o'r Ffrwyth, ac arholiad ar bapur yn y cwestiynau yn dal cysylltiad â'r gelfyddydd o ddysgu, yn y "Gyfres Safonol."

## CWRS YR ADDYSG GOLEGAWL.

Ni roddir addysg ar lafar yn y Coleg yn bresenol, oddigerth yn ffurf papurau a ddarllenir yn y cyfarfodydd blynyddol; ond fe roddir addysg yn helaeth iawn drwy y post. Mae y Dysgybl yn efrydu llyfrau testynol, ac yn gweithio allan yr ymarferiadau hyn. Y mae yn danfon yr ymarferiadau hyn ar adegau penodol i'r Ysgrifenydd, gan amgau tâl bychan, ac y maent yn cael eu dychwelyd iddo wedi eu cywiro. Yn niwedd y cwrs fe gaiff y rhai fyddont wedi gweithio yr ymarferiadau, "Grybwylliad Anrhydeddus" yn y *Tonic Sol-fa Reporter*, Ond y mae y rhan fwyaf o'r addysgiant yn gyfryw nas gellir ei wneyd yn gyfartal i addysgiant personol; cynghorir dysgyblion gan hyny, pa le bynag y mae yn bosibl, i weithio trwy gwrs o ymarferiadau o dan athraw, ac i beidio danfon i fyny i'r Coleg ond y "prawf-ymarferiadau," er cael crybwylliad anrhydeddus. Y mae cwrs o Ddadelfeniad Cynghanedd (yn cael ei ranu yn ddwy o orphwysleoedd) seiliedig ar y testynlyfr "Pa fodd i sylwi ar Gynghanedd," a chwrs neillduol yn seiliedig ar "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth." Y mae cwrs hefyd o efrydiaeth yn nodiant cyffredin yr erwydd, wedi ei seilio ar yr "Arweiniad" i'r nodiant hwnw. Ac y mae cwrs mewn Cyfansoddiant Elfenol, wedi ei ranu i dair o orphwysleoedd, ac yn seiliedig ar "Pethau Cyffredin Cerddoriaeth." Yn nglyn â'r cwrs yma y mae cyfres o Wobrwyon a Thystysgrifau yn cael eu rhoi gan y Coleg, am y rhai, yn y gorsafoedd uchaf, y mae Mr. G. A. Macfarren yn Arholydd. Gellir cael yr holl fanylion am y pethau hyn gan yr Ysgrifenydd.

## MYNEGAI I'R YMARFERIADAU YN Y GYFRES SAFONOL.



---

## MYNEGAI I'R YMARFERIADAU YCHWANEGOL.

# YMARFERIADAU YCHWANEGOL.

## RHAN I.

### NAWR I'R NEF EIN CRI DYRCHAFWN.

CY. D. M. 66. Y geiriau gan E. R. Efel.

| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | m :- .m | r :- .r | m :— | :
| 1.Nawr i'r Nef ein | cri dyrch-af - wn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | d :- .d | t, :- .t, | d :— | :
| 2.Un - waith et - o'n | ffydd - iog dwed-wn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | s :- .s | s :- .s | s :— | :
| 3.Dys-gwyl fydd - om | mewn am - yn - edd, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | d :- .d | s, :- .s, | d :— | :
| 4.Awn yn mlaen ac | ni orch - fyg - wn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,

| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | m :- .m | r :- .r | m :— | :
| Gyd - ag ach - os | da ym - drech-wn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | d :- .d | t, :- .t, | d :— | :
| Er af - lwydd - io | ni o - beith - iwn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | s :- .s | s :- .s | s :— | :
| Heb o - fal - u | am y di - wedd, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,
| s :s | d' :- .s | m :m | s :m | d :- .d | s, :- .s, | d :— | :
| Ein gel - yn - ion | pen - af math-rwn, | Duw fo'n blaid i'r | gwir,

| d' :t | l :s | l :s | f :m | r :m | f :r | s :f | m :r
| Duw ed - rych - o | ar ein heg - ni, | Ac o'i ras roed | lwyddiant i ni,
| m :s | f :m | f :m | r :d | t, :d | r :t, | m :r | d :t,
| Bydd-wn ddewr yn | nydd y frwy - dyr, | Bloeddiwn a chal- | on - au pyb - yr,
| d' :d' | d' :d' | d' :d' | s :s | s :s | s :s | s :s | s :s
| Di - ys - tyr - wn | boen a blin - der, | Duw rydd lwydd-iant | yn ei am - ser,
| d :d | d :d | d :d | d :d | s, :s, | s, :s, | s, :s, | s :f
| Mawr a chad - arn | yw'r gwir - ion - edd, | Gwir sy'n llwyddo | yn y diw - edd,

| d' :- .d' | r' :- .r' | m' :— | — : | s :- .s | s :- .s | d :— | — : ||
| Duw fo'n blaid i'r | gwir, | Duw fo'n blaid i'r | gwir.
| d :- .d | s :- .s | s :— | — : | s :- .s | s :- .s | d :— | — : ||
| s :- .s | t :- .t | d' :— | — : | s :- .s | s :- .s | d :— | — : ||
| Duw fo'n blaid i'r | gwir, | Duw fo'n blaid i'r | gwir.
| m :- .m | r :- .r | d :— | — : | s :- .s | s :- .s | d :— | — : ||

*Cyf. Saf. (New.)*

## CARTREF.

*Gersbach.*

CY. F. M. 88. Y geiriau gan E. R. Efel.

```
:d    |m  :s  |d'  :- .f |m   :r  |s   :- .d |r  :m
1.Does neb a   wyr y     poen - au  fyrdd, A'r  dryg - au
:s,   |d  :r  |d   :- .d |d   :t, |d   :- .d |t, :d
2.Pan fydd - o'r gwynt - oedd oer - ion cryf Yn chwyth-u
:m    |s  :r  |m   :- .f |s   :s  |s   :- .s |s  :s
3.Fe'n har - wain ni o   gam  i     gam  Trwy ddyr - us
:d    |d  :t, |l,  :- .l,|s,  :f, |m,  :- .m,|s, :d

f .,s :m .,f |r  :—  |     :s  |t .l :l .s |s   :l .t |d'  :- .t
o      bob    rhyw         Sy'n cael  eu    hat - al   am    ein
r     :d     |t, :—  |     :t, |r .d :d .t,|t,  :d .r |d .m :s .f
ar     bob    tu,          Fe   gyf - yd    Duw  ei    dyn - er
s     :s     |s  :—  |s    :—  |s    :s    |s   :s    |s   :- .s
an - ial      fyd,    Ac        yn    y     diw - edd  cy - mer
t,    :d     |s, :—  |s    :—  |s    :s    |s   :s .f |m   :- .r

d' .t :l .s  |l .s :f .m |m  :—  |r   :—  |d  :—  |  :
bod    O      hyd   yn    nghwm - ni         Duw.
m .s  :f .m  |f .m :r .d |d  :—  |t,  :—  |d  :—  |  :
blant  I'w    fyn - wes   gyn - es           glyd.
s     :- .d  |d    :d    |s  :—  |s   :- .f |m  :—  |  :
ni     I'w    gar - tref  ded - wydd         clyd.
d     :- .d  |d    :d    |s, :—  |s,  :—  |d  :—  |  :
```

## EMYN HWYROL JACKSON.

*W. Jackson.*

CY. E♭. M. 72. Y geiriau gan E. R. Efel.

```
m  :— :m  |f  :— :m  |m  :r :d  |t,  :d :  |f  :— :m  |r  :— :m
1.Ti   ein  Tad   sydd  yn     y    nef - oedd, At - at   mae   an-
d  :— :d  |r  :— :d  |l, :— :l, |s,  :s, : |d  :r :d  |t, :— :d
2.'Ryd - ym hedd - yw   wed - i     pech - u;   Er   mwyn ab - erth
s, :— :s  |s  :— :s  |l  :— :f  |f   :m :  |l  :s :s  |s  :— :s
3.Rhag pic- ell - au    tan - llyd  dia - fol,  Rhag ei   lu    a'u
d  :— :d  |t, :— :d  |f, :— :f, |s,  :d :  |l, :t, :d |f  :— :m
4.Pan  yn   rhoi  ein   pen   i     or - wedd,  Ys - bryd Duw   fo'n

s  :f :m  |m  :r :   |d' :f :l  |s  :d :f  |m  :— :r  |d  :— :—
ei - rif   lu - oedd,  Beu - nydd   yn  dyrch- afu   eu   cri.
s, :— :s, |s, :s, :  |f  :— :d  |d  :— :d  |d  :— :t, |d  :— :—
mawr  yr   Ies - u,    Madd - eu'n  bei - au   o     bob  rhyw.
t  :— :d' |d' :t :   |d' :— :d' |s  :— :l  |s  :— :f  |m  :— :—
grym  gel- yn - ol,    Bydd   yn    dar - ian, O     ein  Duw.
r  :— :d  |s, :s, :  |l  :— :f  |m  :— :f  |s  :— :s, |d  :— :—
rhoi tang- nef - edd,  Yn     ein   myn - wes  bob   yr   un.
```

*Cyf. Saf. (New.)*

r :— :r | m :— :s | l :s :m | s :f :m | r :— :f | m :— :s
Hedd - yw | et - o | ti a'n | porth - aist, | Am ein | hein - ioes
$t_1$ :— :$t_1$ | d :— :d | d :— :d | r :— :d | d .:$t_1$ :r | r :d :d
Chwant - au'r | cnawd a | balch - der | byw - yd, | A phob | es - geu-
s :— :s | s :— :d' | d' :— :s | s :— :s | s :— :s | s :— :s
Cad - w | ni mewn | di - o - | gel - wch, | Hen - o'n | or - iau
$s_1$ :— :$s_1$ | d :— :m | f :m :d | $t_1$ :— :d | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :m
Ar - nat | ti fo'n | myf - yr - | dod - au, | Yn y | nef - oedd

l :s :d' | t :l :s | f :— :m | m :r :f | m :— :r | d :— :—
ti o - | fel - aist, | Bu - ost | dir - ion | iawn i | ni.
d :— :m | f :— :d | $t_1$ :— :d | $l_1$ :— :r | d :— :$t_1$ | d :— :—
lus - dra | hef - yd, | Madd - eu | i ni, | O ein | Duw.
f :d' :d' | d' :— :d' | s :— :s | s :f :l | s :— :f | m :— :—
y ty - | wyll - wch, | Dan dy | nawdd gad | i ni | fyw.
f :m :d | f :— :m | r :— :d | $f_1$ :— :$r_1$ | $s_1$ :— :$s_1$ | d :— :—
bo'n serch- | iad - au, | Fell - y | mel - us | fydd - o'n | hun.

## Y GWANWYN.

*Gersbach.*

CY. D. M. 144. Y geiriau gan E. R. Efel.

: | :s | d' :— | m .s :f .l | s :— | m .s :f .l | s :m | d' :t | l :s
1. Fe | ddaeth, fe ddaeth, | Gwan-wyn hardd, | Agor mae'r blo - dau, | Dail y coed sy'n
: | :s | m :— | d .m :r .f | m :— | d .m :r .f | m :d | l :s | f :m
2. Yn | mlaen, yn mlaen, | Rhed y nant, | Ti gei fur - mur | Wrth fyn'd dros bob
:s | d' :s | s :— | : | : | : | : | : | :
3. O | cân, O cân, | 'Der - yn bach, | Pyngc-ia dy ger - ddi | Yn y llwyn, mae'r
:s | m :s | d :— | : | : | : | : | : | :
4. Ty - | di, O ddyn, | Cod dy ben, | Neidia ac addol - a, | Na - tur sydd yn

f .s :f .m | r :— | s :— .t | t :s | t .d' :t .l | s :— | t :— .d' | r' :d'
tyf - u'n dlws, | Dring - o maent o | gylch fy nhrws, | Dring - o maent o
r .m :r .d | $t_1$ :— | s :— .r | r :$t_1$ | r .m :r .d | $t_1$ :— | s :— .m | f :m
bryn a dol, | Ffryd - iau fyrdd ddont | ar dy ol, | Ffryd - iau fyrdd ddont
: | : | : | : | : | : | : | :
dydd yn hir, | Blo - dau wen - ant | i ti'n wir, | Blo - dau wen - ant
: | : | : | : | : | : | s :s | s :s
fyw i gyd, | Pam y bydd-i | di yn fud? | Pam y bydd-i

*Cyf. Saf.* (*New.*)







## CHWILIO AM FFAWD.

*Gersbach.*

CY. F. M. 60. Y geiriau gan E. R. Efel.







*Cyf. Saf. (New.)*

| m :d :d \|d' :- :d' | d'.t :l.s :f.m \|r :- :s | d :- || s, \|s, :l, :t, |
| la, la, la, la, | la, la, la, la, la, | la! | 2.Gad-ew - ais fy |
| d :- : \|f :- :l .f | m :- :d \|t, :- :t, | d :- | s, \|s, :l, :t, |
| la, la, la, | la, la, la, la, | la! | 4.Gof-yn - ais i |
| s :- :m \|l :- :f .l | s :- :s \|f :- :f | m :- | s, \|s, :l, :t, |
| la, la, la, la, | la, la. la, la, | la! | 5.Fe dd'wedodd rhai |
| d :- : \| :d :d | d :- : \|s, :- :s, | d :- | s, \|s, :l, :t, |
| la, la, la, | la, la, la, | la! | 6.Hyn gef - ais yn |
| la, la, la, | la, la, la, | la! | 10.Ac ym - a ar - |

| d :-.t,:d \|r :d :r | m :- :r \|m :m :f | s :-.f :m \|r :m :r | d :- :- ||
|---|---|---|---|
| mwth-yn A chrwydro a | wnes, Fordd hyn a ffordd | ar - all, Heb nemawr o | les. |
| d :-.s,:s, \|t, :l, :s, | s, :- :t, \|d :d :d | d :-.t,:d \|t, :t, :t, | d :- :- |
| ryw - rai Pa le'r yd - oedd | Ffawd, Ond chwilio 'roedd | pawb Ei hun am y | brawd. |
| d :-.r :m \|s :s :s | s :- :s \|s :s :s | s :-.s :s \|s :s :f | m :- :- |
| wrth-yf "Mae'ch ymchwil yn | ffol, Aeth heib-io fan | ym - a Flynydd-au yn | ol." |
| d :-.d :d \|s, :l, :t, | d :- :s, \|d :d :r | m :-.r :d \|s, :s, :s, | d :- :- |
| at - eb Mewn rhyw ddi-nas | fawr, "Mae pawb ym-a'n | dys-gwyl am dan-o yn | awr." |
| os - af Ffawd, doed beth a | ddaw, Cei drem os dy - | mun - i, Os na, cad - w | draw. |

## MIS MAI.

*Gersbach.*

CY. G. M. 66. Y geiriau gan E. R. Efel.

| :s | s :d' :m \|m :s :d | m :m.s :f.l \|s :- :s, | d :d .m:r .f \|m :d :f .m |
|---|---|---|---|
| Mor | bryd-ferth, mor hyf - ryd yw | pob peth yn Mai, Mae'i | fwyniant a'i ble - ser heb |
| :d | d :- :- \|- :m :d | d :d .m:r.f \|m :- : | : :s, \|s, :d :d |
| Mor | bryd - - ferth yw | pob peth yn Mai, | A'i ble - ser heb |
| :m | m :- :s \|s :- : | : : \| : : | : :r \|m :s :s |
| Mor | bryd - ferth, | | A'i ble - ser heb |
| :d | d :- :- \|d :- : | : : \| : :s | m :d :t,.r \|d :m :d |
| Mor | bryd - ferth, | A'i | fwyniant a'i ble - ser heb |

| r :- :- \|- :- :s | s :-.f :m \|r :t, : | : : \| : :s,.s, |
|---|---|---|
| drai, Yr | e - os sy'n can - u, | Dros y |
| t, :- :- \|- :- :m | m :-.r :d \|t, :s, : | : : \| : : |
| s :- :- \|- :- : | : : \| : :s | s :-.f :m \|r :t, : |
| drai, | Yr | hed - ydd sy'n cod - i, |
| s :- :- \|- :- : | : : \| : :m | m :-.r :d \|t, :s, : |

*Cyf. Saf. (New.)*


maes a'r bryn a'r ddol, Dros y maes a'r bryn a'r
Dros y bryn a'r ddol, Dros y bryn a'r
Dros y bryn a'r ddol, Dros y maes' Dros y bryn a'r
ddol. Hen ddrys-au y ddae-ar fu'n gau-ad mor hir, Ag-
ddol. Hen ddrys - - au fu'n gau-ad mor hir,
ddol. Yn mis Mai.
Ag-
or - wyd, ac wel - e yn wir, Y li - li a'r blo - dau,
ac wel - e yn wir,
ac wel - e yn wir, A'r
or - wyd, ac wel - e yn wir,
A'r pwys - i fil myrdd dros y meus - ydd Sydd i'w
Myrdd dros y meus - ydd
pryd - ferth ros - yn - au, y meus - ydd Sydd i'w
gwel - ed yn dlws yn mis Mai. Gwnewch ddef - nydd o'r or - iau mae'r
yn dlws yn mis Mai. Gwnewch ddef - - nydd mae'r
gwel - ed yn dlws yn mis Mai. Gwnewch ddef - nydd

*Cyf. Saf. New.)*

